# CANIADAU Y CYSEGR:

NEU BIGION O

# Hymnau a Salmau;

O GYFANSODDIAD GWAHANOL AWDURON.

CASGLEDIG GAN BWYLLGOR DROS

GYMANFA GYNULLEIDFAOL C. N.

*YR AIL ARGRAFFIAD.*

Cenwch fawl i Dduw, cenwch; cenwch fawl i'n Brenin cenwch.
SALM 47 : 6.

Llafar genwch i Dduw â llef gorfoledd : cenwch fawl yn ddeallus.
SALM 47 : 1, 7.

*REMSEN:*

CYHOEDDEDIG GAN R. EVERETT.

1855.

# ANERCHIAD

## *At Gymanfa Gynulleidfaol Swydd Oneida, C. N.*

ANWYL FRODYR :—Yn nghyflawniad y gorchwyl o barotoi y Llyfr hwn, fel pwyllgor (*committee*) dros y Gymanfa, bu ein hymdrech hyd a allem i'w wneud yn Llyfr buddiol yn ngwasanaeth yr Arglwydd. Yr oedd y gorchwyl yn fawr—yn llawer mwy nag a feddyliasom wrth ddechreu arno. Arferasom ddiwydrwydd a llafur i gael iddo yr Hymnau goreu, llawnaf o glodforedd, ac mewn iaith efengylaidd ac esmwyth, ac ar amrywiaeth o destynau a mesurau, o waith a llyfrau Awduron enwog, detholedig o'r Casgliadau goreu a diweddaraf yn yr iaith Gymraeg. Er mwyn buddioldeb cyffredinol rhoddasom gyflawnder o Hymnau ar y mesurau arferedig ; ac er anogaeth i ymgyrhaedd at gynydd yn y rhan hyn o'r gwasanaeth dwyfol, rhoddasom rai ar fesurau anarferedig. Buom ofalus i beidio rhoddi ond ychydig o'r rhai diweddaf, ac eto i roi rhai ymron o bob mesur adnabyddus. Ymdrechasom i gael pob Hymn i gynwys yr un mater drwyddi oll—i fod yn gymedrol mewn meithder, fel y gellid ei chanu oll, ac nid rhan o honi, heb droseddu ar amser—a'r llinellau o ran hyd ac aceniad yn briodol.—Er mwyn enill y cynulleidfaoedd i ganu mwy ar y "Salmau," (yn gystal a "Hymnau" ac "Odlau ysbrydol,") llafuriasom i grynhoi Salmau ar wahanol fesurau, ac mewn iaith rwydd ac ystwyth, a hyderwn yr ystyrir y Casgliad o'r Salmau yn rhan werthfawr o'r Llyfr. Rhoddasom y cyfan dan yr enwad cyffredinol o "Hymnau" er mwyn hwylusdod, gan gyfeirio hefyd, mewn llythyrenau man, at rifnod y Salm. Yr Anthemau &c. a fyddant fuddiol ar achlysuron neillduol.—Dyben canu fel addoliad dwyfol yw cyflwyno clodforedd yr enaid i Dduw, a thuedda yn fawr o'i iawn arfer i nefoleiddio serchiadau yr addolydd. Dylem alaru wrth feddwl mor isel a diymgeledd yw y rhan arbenig hyn o addoliad yr Arglwydd yn nghynulleidfaoedd y saint ; prin y gellir meddwl fod canu fel yr arferir ef mewn llawer man yn deilwng o'r enw, nac yn ddichonadwy iddo, yn y dull y mae, ateb y dyben gosodedig. Mae yn llawen genym feddwl am yr ymdrech sydd mewn manau er diwygio y canu, a hyderwn y bydd ymddangosiad y llyfr hwn yn foddion i ddwyn hyny ar gynydd.—Hyderwn y caiff y cyffredin eu boddloni yn y Llyfr o ran ei gynwysiad, ac yn neillduol o ran y modd llawn a digoll y mae yr Hymnau wedi eu gosod ynddo gan y Cyhoeddwr, a chymedroldeb ei bris. Ac yn awr, heb honiad mewn un ystyr o berffeithrwydd, ond gan gydnabod anmherffeithrwydd a llawer o waeledd, yr ydym yn cyflwyno y Llyfr i'r cyhoedd, gan ddeisyf yn syml ar i Dduw pob gras ei ddilyn a bendith er rhwyddhau ac adfywio y rhan hyn o wasanaeth y Cysegr.

ROBERT EVERETT,
MORRIS ROBERTS,
GRIFFITH W. ROBERTS.

*Remsen, Meh.* 22, 1846.

# MYNEGAI I'R TESTYNAU.

# MYNEGAI

## I'R LLINELL GYNTAF O BOB HYMN.

# HYMNAU.

---

**1.** *Tragwyddoldeb Duw...M. H.*

C'OD, c'od fy enaid gad y llawr,
Ehanga'th holl feddyliau'n awr,
Dihuna'th lef a'th lafar byw,
I ganmol y tragwyddol Dduw.

2 Erioed cyn taenu'r nefoedd fry,
Jehofa'n llanw'i orsedd bu;
Ei drigfan tragwyddoldeb yw,
A byth a byth yw amser Duw.

3 Ein hoesoedd ni ânt heibio'n glau,
Ei oes dragwyddol ef a sai';
Ein Duw fydd byw dros byth yn llon,
Pan losgo'n lân y ddaear hon.

**2.** *" Ar hwn yr edrychaf." ..M. H.*

FEL hyn, medd y Goruchel un,
'Rwy'n llanw gorsedd nef ei hun,
Fy enw yw Duw, 'rwy'n trigo fry,
A thragwyddoldeb yw fy nhŷ.

2 Ond disgyn 'rwyf i fydoedd is,
Mae genyf ar y ddaear lŷs;
Yr ysbryd gostyngedig briw
Yw'r drigfan bur 'rwy'n hoffi byw.

3 Yr enaid isel wrth fy ngair,
A'r cystuddiedig a fywheir,
Y galon ddrylliog a iachaf,
A'r meddwl blin a esmwythaf.

**3.** *Yr Arglwydd yn ddoeth yn ei ffyrdd...M. H.*

MAE ardderchawgrwydd yn ei ffyrdd,
Mae gras a rhyfeddodau fyrdd;
Cadarnach ar ei orsedd yw
Na thwrf y cedyrn o bob rhyw.

2 Arswyded daear ger ei fron,
Ac ymostynged beilchion hon;
Mae'n hoffi barn, mewn nerth a gras,
Mae yn darostwng cyrn ei gas.

3 Mae 'i lwybrau yn y dyfnder mawr,
Weithiau i fynu weithiau i lawr;
Gras a doethineb, yn mhob man,
Trwy hyn sy'n dysgu f'enaid gwan.

4 Molianer enw'r Arglwydd Ion,
Am ei sancteiddrwydd ef b'o son;
Barn ac uniondeb, ár bob awr,
Yw ffyrdd a llwybrau'r Arglwydd mawr.

**4.** *Rhagluniaeth...M. H.*

RHYFEDDOL yw'th amcanion, Ior,
Mae'th ddofn ragluniaeth fel y môr;
Rhy ddofn i ni â'n deall tlawd,
Ei heglur wel'd â llygaid cnawd.

2 'Nawr gwisgo 'rwyt dy wyneb cu
Mewn digllawn wg, fel cwmwl du;
Trwy'r cwmwl credu'th ras a wnawn,
Mai'th brofi o hyd yn dirion gawn.

3 Tros dònau dyfnion, geirwon, llym,
Wrth ffydd, nid golwg, morio 'ry'm;
Trwy dd'rysni'r daith, mewn anial le,
Ffydd yw'n harweinydd tu a'r ne'.

4 Dad doeth! os yw dy wialen di
Ar fedr yma'n cospi ni;
Ni bwyswn ar dy fraich o hyd,
Dy nerth a'n dwg yn iach drwy'r byd.

**5.** *Genedigaeth Crist...M. H.*

O'R nefoedd clywch ar fore clir,
Newyddion ddaeth i Fethle'm dir,
Fod i ni wedi ei eni un,
Yn gadarn dŵr i gadw dyn.

2 Fe ganodd yr angelion fry,
O wir fawrhad i'n Ceidwad cu:
A pha'm na chanwn ninau'n awr,
Wir glôd am eni'n Ceidwad mawr.

3 Rhyfeddod pob rhyfeddod yw,
Fod Iesu yn ddyn, ac yn wir Dduw;
Ar liniau Mair yn faban gwan,
Yn Dduw presenol yn mhob man.

4 Boed y gogoniant iddo'n awr,
Gan fawr a mân, dros ddaear lawr,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
'N un Duw o hyd, a diwahân.

**6.** *Anfoniad Crist i'r byd...M. H.*

NID i gondemnio dynol ryw
Yr ymddangosodd Crist, Mab Duw;
Un arf ni welwyd yn ei law
Na thanllyd gledd i beri braw.

2 Ond cymaint oedd tosturi Duw,
A'i gariad rhad at ddynol-ryw,
Nes rhoddi ei Fab i ddwyn ein bai,
A chadw'n henaid rhag y gwae.

3 Dewch, bechaduriaid, at Fab Duw,
I gredu ynddo, a bythol fyw;
Cysuron fil o'i enau ddaw,
Bendithion fyrdd a rydd ei law.

**7.** *Iaith doethineb...M. H.*

A GAIFF doethineb weiddi maes,
Heb neb yn gwrando iaith ei gras?
Lleferydd y tragwyddol Dduw,
A haeddai barch gan bob dyn byw.

2 Mi oedd ei brif hyfrydwch ef,
Ei Fab tragwyddol cyn bod nef:
A llawenhe's, er gwaeled yw,
Wel'd lle preswyliai dynolryw.

3 Fy meddwl ar y cyntaf âi
Ar iechydwriaeth y fath rai;
A gadwo'm ffyrdd i, dedwydd yw,
A'r dyn a'u gedy, ni bydd byw.

**8.** *Calfaria ar gyfer Sinai...M. H.*

MAE'R gair yn bur, a'r ddeddf yn lân,
A Duw ei hun yn ysol dân;
A ninau'n euog ger ei fron,
Heb nodded ar y ddaear hon.

2 Ond yn y tywydd garw hyn,
Mae golwg ar Galfaria fryn,
A'r aberth fu yno un prydnawn,
Yn dwyn tawelwch hyfryd iawn.

3 Mae yn y gwaed rinweddau gwiw,
I olchi'm henaid du ei liw;
A phrawf o rin maddeuol ras,
A gliria'm holl euogrwydd cas.

4 Pan gaf fy ngwneyd yn berffaith lân,
Perffaith pryd hyny fydd fy nghân;
Caf roddi'r goron byth ar ben
Yr hwn a'm prynodd ar y pren.

**9.** *Oen Duw...M. H.*

BECHADUR, edrych, gwel Oen Duw,
Mor addfwyn ac mor llariaidd yw!
Ei waed sy'n golchi'r duaf rai,
Ac yn dileu'r ffieiddiaf fai.

2 O gwel o'i fron ar Galfari,
Ei werthfawr waed yn ffrydio'n lli';
O edrych arno ar y groes,
O'i fodd yn marw dan ei loes.

3 A gwel ef fry o flaen y Tad
Yn dadlu gwerth ei aberth rhad;
Fe wnaeth yr oll o'i gariad cu,
Bechadur, er dy achub di.

**10.** *Gorphenwyd...M. H.*

GORPHENWYD ffordd i ddynolryw,
Colledig, at orseddfainc Duw,
Gan Iesu, ar Galfaria fryn,
Yn berffaith fe orphenwyd hyn.

2 Gorphenwyd! cenir yn y man,
Pan ddelo Seion lesg i'r lan,
Yn llaw ei Phriod, ar ei wedd,
Yn iach i gyd o'r byd a'r bedd.

3 Gorphenwyd! O bereiddiaf air!
Yn llys y nef unlleisio wnair
Gan deulu gras, a blas heb lyth
Fydd ar y gair gorphenwyd byth.

**11.** *Gorphenwyd...M. H.*

"GORPHENWYD!" Pwy a dd'wedodd hyn?
Yr Iesu ar Galfaria fryn:
Hon oedd yr olaf lef a roes
Pan oedd yn trengu ar y groes.

2 Gorphenwyd beth? gorphenwyd poen
Y croeshoeliedig addfwyn Oen;
Ac addewidion llawer oes
A lwyr gyflawnwyd ar y groes.

3 Gorphenwyd? pa orpheniad fu?
Gorphenwyd maeddu uffern ddu,
Gorphenwyd angeu angeu'i hun,
Gorphenwyd iechydwriaeth dyn.

**12.** *Esgyniad Crist...M. H.*

I'R làn o'r bedd ein Harglwydd daeth;
Esgynodd fry tu fewn i'r llen;
Galluoedd uffern dug yn gaeth
Trwy'r awŷr lâs hyd entrych nèn.

2 O flaen ei gerbyd dysglaer ef,
Bloeddiai angelion ar bob llaw,
Codwch eich penau, byrth y nef;
Chwi ddrysau oesawl, ciliwch draw.

3 Yn llydan gwnewch y ffordd yn rhydd,
A throwch yn ol, chwi folltau'r gwawl;
Gwiw Frenin y gogoniant sydd
Yn dod i mewn; mae ganddo hawl.

4 Pwy ydyw'r Iôr gogonawl? pwy?
Yr Arglwydd nerthol, cryf mewn câd:
Ei holl elynion, maeddodd hwy;
Yn awr mae'n esgyn at ei Dad.

**13.** *Eiriolaeth Crist...M. H.*

SAIL yr eiriolaeth fry o hyd
Yw'r aberth drud fu ar y groes;
Nid rhaid mwy golli gwaed i'r llawr,
'Nol gwaed yr aberth mawr a roes.

2 Bu farw ar Galfaria fryn,
Gorweddodd yn y beddrod caeth;
Ond yn ei swydd mae'n eiriol fry,
O'r carchar du mewn hedd y daeth.

4 Mae llef ei waed mewn uchel fri;
Am Galfari bydd côf di-baid;
Ac eiriol mae ar orsedd nef,
A gwrendy lef pob gwan wrth raid.

**14.** *Mawl i'r Oen...M. H.*

DEWCH a chydseiniwch hyfryd gainc
A'r dorf sydd fry o gylch y fainc;
Deng mil o filoedd sydd o'r rhai'n
Ond un yw'r gân o gyson sain.

2 Teilwng yw'r Oen, gas farwol glwy',
O bob derchafiad, meddant hwy;
Teilwng, atebwn ninau, yw
Yr Oen fu farw i ni gael byw.

3 Bendithion mwy nag allom ni,
Byth, Arglwydd, roi, a fo i ti,
A lluoedd maith y ddae'r a'r nef,
Fendithio'th ras ag unawl lef.

**15.** *Coroni Crist...M. H.*

HENFFYCH i enw Iesu gwiw!
Syrthied o'i flaen angylion Duw,
Rhowch iddo'r parch holl dyrfa'r nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

2 Chwychwi a brynwyd trwy ei waed,
Plygwch yn isel wrth ei draed,
Fe'ch tynodd â thrugaredd gref,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

3 Boed i bob llwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith,
Gyd-ganu'n llawen iawn eu llef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

## 16. *Caru Crist...M. H.*

FY enaid, clyw, ystyrai'n awr,
Rho ateb i'th Iachawdwr mawr,
Mae heddyw'n gofyn, "A wyt ti,
Bechadur, yn fy ngharu i?"

2 R'wyf yn dy garu, er yn wan,
Ti yw'm dymuniad yn mhob man:
Och'neidio'n drist o hyd yr wy',
Am nerth dy ras i'th garu'n fwy.

3 Boed ein hymddyddan yn mhob lle'
Byth am ei enw anwyl E',—
Yr hyn a wnaeth pan ar y llawr,
A'i waith ef yn y nef yn awr.

## 17. *Cymdeithas a Christ...M. H.*

O IESU mawr, y Meddyg gwell,
Gobaith yr holl ynysoedd pell;
Dysg fi i seinio maes dy glod,
Mai digyfnewid wyt erioed.

2 Rho i mi wel'd mai ti yw'm hedd,
A llwyr ddifyru ar dy wedd;
A chym'ryd gair dy enau i gyd,
Yn unig bleser yn y byd.

3 Pâr fod dy ogoniant pur dilyth,
Yn nôd a dyben i mi byth;
Dy fywyd hardd, a'th eiriau gwir,
Yn wastad i mi 'n rheol bur.

4 O hoelia 'm meddwl, ddydd a nos,
Crwydredig, wrth dy nefol groes;
A phlana 'm hysbryd yn y tir,
Sy 'n llifo o lawenydd pur.

5 Nid yw pleserau pena 'r byd,
Yn deilwng o fy serch a 'mryd;
Un wên o eiddo Mhrynwr cu,
Sydd gannmil gwell na 'r rhai 'n yn llu.

**18.** *Crist yw'r Graig... M. H.*

RHYW ŵr—rhyfeddol ŵr yw Ef,
Sydd imi 'n lloches gadarn gref;
Fel uchel graig fy nghysgod fydd,
Rhag marwol wres y poethlyd ddydd.

2 Yr hynod Graig, ein Iesu cu,
Sy 'n llawer uwch na 'r nefoedd fry,
O dano Ef y llecha'i 'n glyd,
Yn mhob rhyw 'stormydd yn y byd.

3 Taraw'd y Graig—mae ffrydiau hon
Yn oeri 'r llosgfa dan fy mron;
Taraw'd y Graig—a'i dyfroedd pur
Yw 'm cysur yn yr anial dir.

4 Yn holltau 'r Graig fy nhrigfa fydd,
Trwy ryfedd faith dragwyddol ddydd;
Caf yma hyfryd wedd fy Nuw,
Dysgleiriad ei berffeithiau gwiw.

**19.** *Pren afalau. . . M. H.*

IESU yw Rhosyn Saron mwyn,
A'r Lili mae 'r dyffrynau 'n ddwyn,
A Phren y bywyd heb ei ail,
Ag iachawdwriaeth yn ei ddail.

2 Fel lili 'n tyfu y'mhlith y drain,
Neu bren afalau 'mhlith y rhai 'n;
'R un wedd 'rwy'n gwel'd fy Mhrynwr drud,
'Mhlith miloedd o gariadau 'r byd.

3 Ei gangau gwych yn gysgod bydd,
I'm henaid orphwys ganol dydd,
A'i ffrwyth yn felus iawn yn wir,
Tra b'wyf yn aros yn y tir.

**20.** *Iesu yn bob peth. . . M. H.*

O'R holl fendithion gâdd y byd,
Wel dyma 'r fwyaf un i gyd,
I'm Iesu ei hun, &c.
Tros aflan ddyn, ro 'i fywyd pur.

2 Boed iddo mwy ganiadau o glod,
Tra nefoedd fawr a byd mewn bod,
Ac na boed son, &c.
Ond am yr Oen a'i farwol glwyf.

3 O d'weded pawb am rin y gwaed,
Maddeuant llawn, maddeuant rhad;
Dim achwyn mwy, &c.
Ond canu am glwy' Calfaria fryn.

**21.** *Y Cyfaill goreu. . . M. H.*

'RWY 'n dewis Iesu a'i farwol glwy'
Yn Frawd a Phrïod imi mwy;
Ef yn Arweinydd, ef yn Ben,
I'm dwyn o'r byd i'r nefoedd wen.

2 Wel dyma un, O d'wedwch p'le
Y gwelir arall fel Efe,
A bery 'n ffyddlawn imi o hyd,
Yn mhob rhyw drallod yn y byd?

3 Pwy wrendy ruddfan f' enaid gwan?
Pwy 'm cwyd o'm holl ofidiau i'r làn?
Pwy ddwg fy maich fel Brenin ne'?
Pwy gydymdeimla fel Efe?

4 Ei ganmawl bellach wnaf o hyd,
Er maint o boenau sy 'n y byd;
Dechreuais gân a bery 'n hwy,
Nag y ceir diwedd arni mwy.

**22.** *Neb ond Crist. . . M. H.*

UN llais, un sŵn un enw pur,
O'r deheu fo i'r gogledd dir,
O fôr i fôr, o gylch y byd,
Sef enw Iesu mawr o hyd.

2 O deued dydd yr India i ben,
I wel'd yr hwn fu ar y pren;
A minau 'n un, yn un â hwy,
Yn canu am ei farwol glwy'.

3 Amen, amen, boed môr a thir
Mewn perffaith hedd, mewn cariad gwir,
Heb ganddynt bleser o un rhyw,
Ond caru 'n Iesu mawr a'n Duw.

**23.** *"Byw i mi yw Crist." . . M. H.*

BYW im' yw Crist, er bod mewn bedd;
Byw im' yn eiriol fry mewn hedd;
Byw im' yn Feddyg i fy nghlwy';
Byw 'n Frawd a Phriod imi mwy.

2 Byw 'n Archoffeiriad ar fy rhan;
Byw 'n Nerth a Phlaid i f' enaid gwan;
Byw 'n Frenin ar ei orsedd fawr,
I'm hachub a'm gwaredu 'n awr.

3 Byw imi 'n Brophwyd mawr ei ddawn,
I'm dysgu yn rhyfeddol iawn;
I'm dysgu i 'mwadu â mi fy hun,
Gan roi 'r gogoniant iddo 'n un.

4 Fy Mywyd yw mewn cyfiawnhad;
Fy Ngobaith cadarn am iachâd;
Fy Iachawdwriaeth oll, a'm Cân;
Fy Mywyd yn y dwr a'r tân.

## 24. *Crist a Phechadur...M. H.*

DYMA gyfarfod hyfryd iawn,
Myfi yn llwm a Iesu 'n llawn;
Myfi yn dlawd heb feddu dim,
Ac yntau 'n rhoddi pob peth im'.

2 Cymer fi Iesu, fel yr wy',
Cuddia fi yn dy nefol glwy';
Can's dyna 'r graig y gwnaf fy nyth,
Does neb yn ofni yno byth.

3 Melus fel mana 'r nefoedd fry,
Yw hyfryd hedd f' anwylyd cu;
Mwynhad o'i gariad ef a'i ras,
Na 'r diliau mêl sy'n well ei flas.

4 Gâd i mi dreulio 'm dyddiau i gyd,
I edrych ar dy wynebpryd,
Difyru 'm hoes o awr i awr,
I garu fy Eiriolwr mawr.

## 25. *Angor yr enaid.... M. H.*

GOBAITH yw angor f' enaid drud,
Wrth groesi moroedd garwa 'r byd,
Mawr ydyw grym y gwynt a'r dòn
I'm herbyn drwy y fordaith hon.

2 Ond unig obaith f' enaid yw
Addewid ddianwadal Duw;
Mi dafla f' angor yma i lawr,
Yn nghanol tònau 'r moroedd mawr.

3 Os gwynt a thònau ddont fydd mwy
Nâ'r rhai a gwrddais gynt â hwy,
Mae gafael f' angor uwch y nen,
A'm Iesu fry tu fewn i'r llen.

## 26. *Esmwythder i'r blinderog...M. H.*

DEWCH ataf bawb, medd Iesu Grist,
Sy'n llwythog a blinderog trist,
Oddiwrth eich poen y'ch esmwythaf,
A'ch dwyn i'm nefol gartref wnaf.

2 Gwyn fyd y dyn a gym'ro'n fwyn,
Fy iau i arno a hoffi ei dwyn,
Fy iau sydd esmwyth iawn i hwn,
A'm gras a ysgafnha ei bwn.

3 Dymunem Iesu dd'od wrth d'arch,
Mewn ffydd a gobaith, sêl a pharch,
I roi i'th law'n hysbrydoedd byw,
I'w pur hyfforddi wrth Air Duw.

## 27. *Eto mae lle... M H.*

LLEFWCH genadon Duw o hyd,
O wele waed Iachawdwr byd,
Cymhellwch bawb dd'od ato fe,
Mae'r Iesu'n dweyd fod eto le.

2 Chwi rai newynog, tlawd, nesewch
O amgylch drws Messia dewch;
Gwrandewch ei lais a'i alwad E',
Mae'r Iesu'n dweyd fod eto le.

3 Pwy bynag gredo yn Mab Duw
Yr enaid hwnw byth fydd byw;
Caiff ernes 'nawr o deyrnas ne'
Mae'r Iesu'n dweyd fod eto le.

## 28. *O flaen pregeth.... M. H.*

BOED dy awelon pur fel tân,
Yn llosgi'r sothach oll o'i flaen,
A chadw'r weinidogaeth fawr,
A'i llewyrch fel y boreu wawr.

2 Chwyth beraroglau'r enaint gwiw,
Nes gwneuthur meirw fyrdd yn fyw;
O! anfon dy awdurdod gref,
Ac agor feddau fyrdd â'th lef.

3 O! gwisg holl weision Iesu glân,
A chenadwri megys tân,
A danfon nerth o'r nef i lawr,
Trech na galluoedd uffern fawr.

## 29. *Yr awelon hyfryd... M. H.*

O TYRED, y gogleddwynt clir,
Anadla ar dy lysiau pur;
Tyr'd a'r awelon hyny lawr
Sy 'n deffro 'r arg'oeddiadau mawr.

2 Tyr'd dithau y deheuwynt clyd,
Sy 'n codi 'n henaid uwch y byd;
Doed pob awelon yn eu lle,
I godi 'm hysbryd tua thre.

3 Fel byddo pob rhyw nefol ras
Yn taenu peraroglau i maes;
A phob tymherau yn eu rhyw,
Oll yn croesawu f' anwyl Dduw.

**30.** *Adnewyddiad nerth... M. H.*

A ALL y fraich a wnaeth bob dim
Ddiffygio byth, neu fyn'd heb rym!
A balla nerth y cadarn Iôr
A wnaeth y nef, y tir, a'r môr!

2 Nerth dyn yn fuan a wanhâ,
A chryfder ieuenctid blino wna;
Ond nerthoedd anchwiliadwy sy'
Yn mythol freichiau'n Harglwydd ni.

3 Y saint ymadnewyddu wnant,
Can's derbyn nerth o hyd a gânt,
Nes cyrhaedd y dedwyddol dir
Lle mae digrifwch bythol pur.

**31.** *Cwmwl tystion. . . . M. H.*

ADENYDD ffydd yn awr pe cawn,
Tu fewn i'r llen ehedeg wnawn,
I wel'd y saint mor llawen sy,
Mewn gwynfyd a gogoniant fry.

2 Fel ninau buont yn y byd,
Yn wylo'n bruddion lawer pryd,
Ymdrechu'n galed iawn â grym
Amheuon, ofnau, a phechod llym.

3 Gofynwn iddynt hwy yn brudd,
P'odd darfu iddynt gario'r dydd;
Hwy oll atebant, mai trwy boen
A gwaed y croeshoeliedig Oen.

4 Dilyn'sant gamrau 'u Harglwydd Crist,
Trwy glod ac annghlod trallod trist,
A gorthrymderau o bob rhyw,
Nes myn'd i'r wlad addawodd Duw.

5 Tragwyddol glod i'r Iesu glân,
Rhoi'i hun yn Batrwm wnaeth o'n blaen;
A'r cwmwl mawr o dystion maith,
Fel sêr i'n tywys ar ein taith.

## 32. *Newyddion da. . . M. H.*

NEWYDDION brâf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go';
Bod Iesu wedi cael y dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Mae Iesu Grist o'n hochr ni,
Fe gollodd ef ei waed yn lli;
Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach
I'r ochr draw 'mhen gronyn bach.

3 Wel, f' enaid, weithian, cod dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wen,
Ein holl elynion sydd yn awr
Mewn cadwyn gan y Brenin mawr.

## 33. *Galwad i'r Ieuenctid.*

O FILWYR ieuainc, dewch i gyd
Yn erbyn Satan, cnawd a byd:
Os dewch dan faner Crist, yn wir,
Cewch rannu'r yspail cyn bo hir.

2 Mae'r ieuainc yn aberthau byw,
A chymeradwy iawn gan Dduw;
A llawen gan angelion nef
Wel'd plant o dan ei faner ef.

3 O! cofiwch eich Creawdwr mawr,
A rho'wch eich hunain iddo'n awr:
Mae'n caru plant, a mebyd yw
Yr amser hoffaf gan ein Duw.

4 Mae gan Dduw winllan yn y byd;
Dewch, gweithiwch ynddi, mae'n llawn bryd:
Ar fyr cawn orphwys fry mewn hedd,
A'n galw i'r dragwyddol wledd.

## 34. *Addysgu'r Ieuenctid. . . M. H.*

YSTYRIWCH ie'nctid gwych eich gwedd,
Yr ewch chwi bawb i lwch y bedd;
A diwedd prudd eich bywyd brau,
Yn wastad sydd yn agosâu.

2 'Does dim dedwyddwch gwir i'w gael,
Yn neb o'ch gwag arferion gwael:
Yn Nuw ei hun meddiannwch hedd,
Tu yma a thu draw i'r bedd.

3 Yr Iesu gâr yr ie'nctid gwiw,
Sy' mlodau 'u dydd yn ofni Duw;
A'r neb a'i cais E'n awr sy'n cael
Dedwyddwch hir, a bywyd hael.

## 35. *Iachawdwriaeth. . . M. H.*

O'R iachawdwriaeth fawr yn Nghrist,
Swn melus hyfryd yw i'm clust!
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chordial im' rhag ofnau yw.

2 Mewn bedd o bechod gorwedd bu,
Ein henaid wrth ddrws uffern ddu;
Ond codi'r y'm trwy ras ein Duw,
I weled nefol ddydd a byw.

3 Aed sŵn yr iachawdwriaeth fawr,
O ddeutu'r ddaear faith yn awr,
A boed i'r nef a'i lluoedd llon,
Gyfodi eu llef i seinio hon.

**36.** *Llwyddiant Sion a dinystr Babel. . . M H.*

O ARGLWYDD Dduw bywhâ dy waith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith;
Dros dir a môr dysgleiria i ma's,
Yn nerth dy rad anfeidrol ras.

2 Mae Babilon yn crynu'n wir,
Mae'n rhwym o gwympo cyn bo hir;
O Arglwydd brysia, rhwyga'r llen,
Boed Sion bur trwy'r byd yn ben.

3 Mae'r seithfed dydd a'r seithfed awr
Yn agosâu ar Babel fawr;
Fe syrth ei muriau bob yr un,
O flaen efengyl Mab y dyn.

**37.** *Erfyn am faddeuant. . . M. H.*

PECHADUR wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw;
Yn byw mewn eisiau o waed y groes,
Bob mynyd awr o'r dydd a'r nos.

2 Gwn mai rhinweddol yw dy waed,
I bledio'm hawl o flaen y Tad;
A chlirio'm ffordd at orsedd gras,
A blotio meiau mwya'i maes.

3 Maddeuaist gannwaith, maddeu hyn,
O Arglwydd càna fi eto'n wyn;
Rho i mi dyst f' anwylyd cu,
I'm clirio yn y nefoedd fry.

4 O cofia fi ger bron y Tad,
A dangos iddo werth dy waed:
O pledia'n awr y'nghanol ne',
I ti roi 'th fywyd yn fy lle.

**38.** *Arweiniad y Bugail da .. M. H.*

DYSG fi, O Dduw, dysg fi pa fodd,
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd,
Dysg fi i ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg fi i gonc'ro 'mhechod oll.

2 Y gwanaf wyf a'r rheitia ei ddwyn,
O'r defaid gwirion ac o'r ŵyn;
A diau yw y bydda'i 'n ol,
Oni chwyd y Bugail fi'n ei gôl.

3 Cael teimlo'i hedd a'i fywiol ras,
Yw'r nefoedd sy' ar y ddaear las;
A'm nefoedd byth yn nef y nef,
Fydd edrych ar ei wyneb ef.

4 Rho win ac olew yn fy mriw,
A gwisg fi'n dêg â delw Duw;
A thŷn fi'n llon i blith y llu,
Sy'n ddysclaer yn y nefoedd fry.

**39.** *Haul aros. . . M. H.*

SAFED yr haul, safed yn lân,
Uwchben Gibeon, fel o'r bla'n,
I Israel Duw gael goleu mwy
I ymladd â'u gelynion hwy.

2 'Does gwanach milwr yn y byd
Nâ mi'n y fyddin fawr i gyd;
Cryf yw'm gelynion, gwan yw'm gras,
Heb oleu'r Haul mi golla'r ma's.

3 O aros haul, heb fyn'd i lawr,
Aros uwchben y fyddin fawr,
Aros, tra etifeddion gras
Yn ymladd ar y gwaedlyd fa's.

**40.** *Llawenydd yn y nef. . . M. H.*

PWY draetha'r fath lawenydd sy
Drwy holl gynteddau'r nefoedd fry,
Pan ddel afradlon tua thref,
Pan aner un etifedd nef.

2 Boddloni'n llawen y mae'r Tad,
Wel'd ffrwyth ei fythol gariad rhad;
Y Mab yn llon a edrych lawr
Ar bwrcas ei ddyoddefaint mawr.

3 A hoffi gwel'd mae Ysbryd Duw
Yr enaid marw wnaeth e'n fyw:
A seintiau ac angylion glân,
Am gynydd teyrnas Dduw a gân.

**41.** *Lamp a'r gwir olew. . . M. H.*

O CAIS yr olew pur o'r nef,
Nerth a goleuni 'i Ysbryd ef;
A chais wirionedd dan dy fron;
O cais y lamp ragorol hon.

2 Gwirionedd anian dduwiol lân,
Gwirionedd cariad diwahân,
Gwirionedd ffydd, gwirionedd sail,
Gwirionedd delw Adda'r ail.

3 Gwirionedd angor ar y dòn,
Gwirionedd gobaith dan dy fron,
Gwirionedd gafael hwnt i'r llen,
A bywyd yn yr hwn sydd ben.

4 Gwirionedd golwg ar y gwaed,
A hedd trwy'r aberth mawr a gaed;
Gwirionedd Ysbryd Duw a'i sêl,
Gwirionedd proffes lân ddigel.

5 Gwirionedd nas gw'radwyddir byth,
Deil ei oleuni yn ddilyth,
Er nos a gwaedd ni ddiffydd chwaith,
Ond pery i dragwyddoldeb maith.

## 42. *Ymdrech am y fendith... M. H.*

YN Peniel 'rwyt, fy enaid clyw,
Ymdrecha'n dêg âg angel Duw;
Pwy ŵyr na chei, cyn tori'r wawr,
Wir etifeddu'r fendith fawr?

2 O flaen y drugareddfa fawr,
Bron trengu yn y llwch yn awr;
Gwel y pechadur duaf gaed,
A'i lef am brawf o rin y gwaed.

3 Mae gras yn rhyw anfeidrol stôr,
A doniau genyt fel y môr;
O gâd i'r truenusaf fyw,
Trwy haeddiant Crist fy Iôr a'm Duw.

## 43. *Gwerth y Gair... M. H.*

O ARGLWYDD Iôr, haelionus yw
Dy ddoniau da i ddynolryw:
Rho'ist i ni etifeddiaeth wych,
Drwy roi dy air o'n blaen fel drych.

2 Cawn, wrth ei chwilio, drysor drud,
O werth sydd fwy na pherlau'r byd;
Mwy melus yw, mae'n wir digêl,
Nag yw diferion diliau mêl.

3 Wrth in' ei ddarllen, Arglwydd cu,
Rho fendith fawr o'th nefoedd fry,
A gwna ni'n ffyddlon drwy ein hoes
I ddilyn Crist, gan ddwyn ei groes.

**44.** *Yr Ysgol Sabbothol. . . M. H.*

CYSEGRWN flaenffrwyth ddyddiau'n hoes,
I garu'r hwn fu ar y groes:
Mae mwy o bleser yn ei waith,
Na dim a fedd y ddaear faith.

2 Cael bod yn fore dan yr iau,
Sydd gannmil gwell na phleser gau:
Mae ffyrdd doethineb oll i gyd,
Yn gysur ac yn hedd o hyd.

3 Y plant a wasanaethont Grist,
Cant ddianc byth rhag uffern drist:
Mae myrdd o ie'nctid yn y nef,
Yn berlau yn ei goron ef.

4 O! na threuliaswn yn ddigoll,
O dan iau Crist, fy mebyd oll;
Mae'r hwn a'm prynodd ar y groes,
Yn deilwng o bob awr o'm hoes.

**45.** *Y Sabboth. . . M. H.*

Y SABBOTH, gwyl nefolaidd yw;
Ar hwn cyfododd Iesu'n fyw:
Clodforwn ninau Frenin hedd,
Mae wedi perarogli'r bedd.

2 O! f' enaid, nac annghofia'r dydd,
Y daeth y Meichiai mawr yn rhydd,
Agorwyd i ni byrth y nef,
Trwy rym ei fuddugoliaeth ef.

3 Gwaith rhyfedd oedd creu nef a llawr,
A threfnu'r greadigaeth fawr:
Ond gwaith rhyfeddaf Duw ei hun
Oedd gorphen iachawdwriaeth dyn.

4 Y mae gorphwysfa'n ol i'r saint,
Mewn gwlad o hedd, O ryfedd fraint!
Lle cânt fwynhau, heb gur na phoen,
Dragwyddol Sabboth gyda'r Oen.

## 46. *Y Sabboth. . . M. H.*

MELUS yw dydd y Sabboth llon,
Na flined gofal byd fy mron;
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

2 Gwaith hyfryd iawn a melus yw
Moliannu d'enw di, O Dduw;
Son am dy gariad foreu glas,
A'r nos am wirioneddau'th ras.

3 Yn Nuw fy nghalon llawenha,
Bendithio'i waith a'i air a wna';
Mor hardd yw gwaith dy ras, O Dduw,
A'th gynghor, O mor ddyfned yw!

4 Tydi yw'r bythol fywiol Dduw,
Erioed yr oedd dy orsedd wiw;
Sancteiddrwydd weddai yn ddilyth,
I'th dŷ a'th waith, O Arglwydd, byth.

## 47. *Gwledd yr Arglwydd. . . M. H.*

Y NOS bradychwyd Mab y dyn
Arlwyodd wledd â'i law ei hun,
Trwy fara a gwin arwyddion gaed
Yn faeth i ffydd o'i gorph a'i waed.

2 Y bara gym'rodd yn eu gwydd,
Ac yna rhoddodd ddiolch rhwydd;
"Fy nghorph a dòrir drosoch chwi—
Bwytewch er cof am danaf fi."

3 'Run modd y gwin, yn gymun gwaed
Gwir Oen y nef, ei ranu wnaed;
"Dangoswch fy marwolaeth i,
Cynifer gwaith yr yfoch chwi."

**48.** *Swper yr Arglwydd... M. H.*

Y NOSWAITH drom anesmwyth drist
I'r ardd pan aeth ein Harglwydd Crist,
I draethu ei flinder mawr ar frys,
Mewn dagrau, ing, a gwaedlyd chwys.

2 Y nos cyn iddo gael ei ddwyn
Fel oen i'r lladdfa er ein mwyn,
Wrth dòri'r bara, d'wedai'n gu,
Fy nghnawd yw dòrir drosoch chwi.

3 O'r cwpan hwn, fy anwyl rai,
Yfwch—er maddeu eich holl fai;
Fy ordinhad cyflawnwch hi
Er cof o'm cur a'm cariad i.

**49.** *Diolchgarwch... M. H.*

MAWR yw'th diriondeb, nefol Dad,
Hyd yma atom ni fel gwlad;
Er haeddu bod o dan dy lid,
Ein harbed 'rwyt o bryd i bryd.

2 Ein maesydd cnydaist ti yn llon
A'th roddion hael y flwyddyn hon;
A hîn ddymunol roist i ni,
I gasglu'th drugareddau di.

3 Cyduned ein calonau'n awr,
I foli'th enw, Arglwydd mawr,
A rhoi ein cyrph yn aberth byw,
Er clod i'th ras—ein dyled yw.

**50.** *Agoriad Addoldy. . .M. H.*

MAWR wyt ein Tad, tragwyddol Fod,
Seraphiaid glân sy'n seinio'th glod;
Cymysgwn ninau yn dy dŷ,
Ein cân â chân angelion fry.

2 O tyred Arglwydd Iôr i'n plith,
Gorchuddia'th Fynydd hwn â'th wlith;
Cysegra di y babell hon,
A'th bresenoldeb ger ein bron.

3 Boed gwir ogoniant fyth ar gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân;
I'r Tri yn Un Tragwyddol Dduw,
Cydroddwn fawl—ein dyled yw.

**51.** *Agoriad Addoldy. . .M. H.*

DUW Iôr! corona'r babell hon,
Yn glau â'th bresenoldeb llon,
Dy fendith iraidd fel y gwlith
O'th nawdd o'r nef ddisgyno i'n plith.

2 O'r deml hon derchafer clod
A gwresog fawl i'r dwyfol Fod,
A chlywer cynhes weddi'r ffydd
O fewn ei mhuriau nos a dydd.

3 Dy air melusach na'r dil mêl
Fo yma'n wastad tan dy sêl,
I'th weision rho dy nerth a'th ddawn
A'th bobl cant amgeledd llawn.

4 Tra gweinir ordinhadau'th dŷ,
O ymddysgleiria oddi fry,
Dy ras a'th arch a gaffo'r blaen
Tra y parhao maen ar faen.

5 Pob oedfa fo'n addoliad byw
A llawn o barch i'r bywiol Dduw.
Cerydda'r dyrfa ysgafn fryd
A mŷn i'th enw'r bri i gyd.

6 Par'toer dy bobl fawr a mân,
I'r nef trwy'r weinidogaeth lân,
O bryd i bryd caed yma lu
Fywyd, dan swn efengyl gu.

**52.** *Urddiad Gweinidog. . . M. H.*

O FUGAIL Israel! tydi sy
'N gofalu am dy ddefaid cu;
Bugeiliaid is eu codi 'rwyt,
I roi wrth raid i'n henaid fwyd.

2 I'th holl eglwysi rho'r fath rai
Fo'n ol dy galon di'n ddilai:
Eu cariad a'u ffyddlondeb gwiw
Fo'n oleu i'r byd, ac wrth fodd Duw.

3 O dan eu gofal tyner hwy
Dy ddefaid fo'n cynyddu'n fwy;
A'u siamplau teg fo'n dwyn y praidd,
I mewn i Sion a'i phorfeydd.

4 O gwrando ein deisyfiad ni,
A'th fendith yma rho i'th dŷ;
Ymg'ledda'th saint fel na b'ont hwy
Fel defaid heb arweinydd mwy.

**53.** *Urddiad Gweinidog... M. H.*

CHWI wylwyr Sïon oll deffrowch,
A chlust yn ostyngedig rhowch;
Derbyniwch 'nawr o enau Duw,
Eich siars cyhoeddus—pwysfawr yw.

2 Nid achos yw o fychan bwys,
Gwaith Bugail ofyn ofal dwys;
Gwaith lanwai galon angel cry',
Llawn waith i ddwylaw'n Prynwr fu.

3 Gwylio 'rych dros eneidiau drud,
Er mwyn pa rai daeth Crist i'r byd,
Eneidiau byth a orfydd fyw
Dan wenau neu ddigofaint Duw.

**54.** *Angeu a'r Bedd... M. H.*

PA'M carai'r byd na'i wagedd mwy?
Hyd angeu'n brin y deuant hwy;
Gwell genyf garu'r ffrynd a ddaw,
Yn angeu i 'mafyd yn fy llaw.

2 Pan byddwy'n myn'd o'r byd i maes,
Yn siglo llaw âg angeu glas;
Pryd hyn pwy help fy enaid gwan,
I ddringo o'r anial fyd i'r làn?

3 O'r dywyll wlad pan byddwy'n myn'd,
Fy Iesu fydd fy ffyddlon ffrynd,
Pa frawd, pa chwaer, pa gyfaill gwell,
Ddaw'm hebrwng i'r ardaloedd pell.

**55.** *Dydd gras a gobaith... M. H.*

MEWN bywyd mae gwas'naethu Duw,
Dydd gras ac iachawdwriaeth yw,
Tra dalio'r lamp i losgi maes,
Yr adyn gwaethaf all gael gras.

2 Bywyd yw'r awr a roddes ef
I ochel uffern—ffoi i'r nef;
Dydd yw gall pechaduriaid gwael
Fendithion i'w heneidiau gael.

3 Am hyny, 'r hyn sydd yn fy mryd,
Boed im' ei wneud â'm hegni i gyd;
Gan nad oes dyfais, gwaith, na'i wedd,
Na ffydd, na gobaith yn y bedd.

**56.** *Blaguryn yr addewid... M. H.*

BLAGURYN yr addewid ddaeth,
Dyrchafu corn ein hiechyd wnaeth,
Cyhoeddi'r iechydwriaeth wnai,
A llawn faddeuant am bob bai.

2 Caiff Israel a chenedloedd byd,
Ei felus foli yn un fryd:
Ei air a red, a phob dyn byw
Gaiff wel'd gogoniant pur Mab Duw.

3 Cyfeirio'n traed mae ef yn fwyn,
I ffyrdd tangnefedd mae'n eu dwyn;
A'r rhai yn awr mewn t'w'llwch sydd,
Edrychant ar y Seren ddydd.

**57.** *Emyn foreuol.. M. H.*

DUW 'r boreu, wrth dy lais a'th wŷs,
Y siriol haul a gwyd ar frys,
A llawenhau fel cawr mae ef,
I redeg ar ei daith trwy'r nef.

2 O, fel yr haul boed im' gwblhau,
Holl ddyledswyddau'r dydd yn glau;
A bywiog fyn'd trwy gymhorth gref.
Yn mlaen ar hyd y ffordd tua'r nef.

3 I'm tywys, Ior, rho'th gynghor cu,
A derbyn fi i'r gwynfyd fry;
Fy ngobaith a'm dymuniad yw,
Yn fwy na dim fod gyda'm Duw.

**58.** *Ymostyngiad Duw. . . M. H.*

DUW, rhyfedd yw'th dosturi hael;
A drig yr Arglwydd gyda ni!
Pa beth ar wyneb daear wael,
All ddenu lawr dy gerbyd di!

2 Gallasit lenwi'th orsedd fawr,
A gwrando cerddi Gabriel lân;
Ond disgyn mae'th fawrhydi i lawr
I wrando'n gwael grynedig gân.

3 Ac, O! mor dlawd yw'r tâl a gai,
Am dy anfeidrol gariad gwiw;
Bloesg iawn yw llais tafodau clai,
Ond dy drugaredd Dwyfol yw.

**59.** *Ffydd bywiol. . . M. H.*

EIN gwaith a'n tybiau'n ofer fydd,
Os oer a marw yw ein ffydd;
Nid oes ond bywiol ffydd o'r nen
A'n dwg at Grist ein bywiol Ben.

2 Ffydd bura'r galon o bob pla,
A ffydd drwy gariad gweithio wna,
Ffydd ymlid ffwrdd bob cysur gau,
A chodi'r serch i'r nef y mae.

3 Ffydd sy'n gorchfygu drygau'r byd,
Ffydd goncra uffern er ei llid,
Ffydd lwydda yn yr olaf awr,
A'i gwobr fry, trwy ras, fydd mawr.

**60.** *Gorphenwyd... M. H.*

GORPHENWYD, medd ein Iesu mawr,
A'i fywyd rhoes o'i fodd i lawr:
Gorphenwyd! do, fe gaed y dydd;
Fe dalwyd iawn, daw'r caeth yn rhydd.

2 Gorphenwyd—cynghor Duw heb goll,
Y ddeddf, a'r addewidion oll;
Cyflawnwyd nôd y rhai'n i gyd
Yn Iesu, Prynwr mawr y byd.

3 Gorphenwyd! clywch y gair i gyd;
O hyfryd sain! amgylcha'r byd;
Gorphenwyd! aed yr adsain lon
Trwy nef y nef a'r ddaear gron.

**61.** *Llusern y gair... M. H.*

MAE gair fy Nuw fel lluseru gref
I arwain f' enaid tua'r nef;
Yn ngoleu hwn, 'mhen gronyn bach,
Cyrhaeddai'i 'nghartre'n gwbl iach.

2 'Nol cyrhaedd drwy'r anialwch maith
Yn ddiogel draw i ben y daith;
Mewn nefol gân am oleu'r gair,
Cawn foli'r Oen â'r delyn aur.

**62.** *Deddf ac Efengyl.. .M. H.*

MAE 'r ddeddf yn eglur ddweyd beth yw
Ein dyledswyddau ni i Dduw;
Ond yr efengyl dd'wed pa le
Cawn nerth i wneud ei 'wyllys E'.

2 Y ddeddf datguddiad i ni ddwg
O lygredd ein calonau drwg;
Ond yr efengyl dd'wed lle mae
Gras i'n pardynu a'n glanhau.

8 Ni chais fy enaid dynu'n hwy
O'r ddeddf, na hedd na bywyd mwy;
At Grist y ffo'f am obaith gwiw;
A gredo ynddo hwn fydd byw.

**63.** *Oen a laddwyd... M. H.*

YR Oen a laddwyd ydyw rhan
A holl hyfrydwch f' enaid gwan;
Cael huno yn ei gariad drud,
Sydd fil o weithiau'n well na'r byd.

2 Anturio wnaf at orsedd nef,
Mae'm holl ymddiried ynddo ef;
Mae'r ffordd yn rhydd, mae'r rhodd yn rhad,
I'r sawl a gredo yn y gwaed.

3 Annhraethol felus yw dy hedd,
A'th gariad sydd yn hyfryd wledd,
Cael prawf o'i flas ddymunaf mwy,
Nes llwyr iachâu fy nwfn glwy'.

**64.** *Edrych ar Iesu... M. H.*

NID yw hyfrydwch cnawd a byd
Ond pethau gweigion oll i gyd;
Wrth chwilio gair yr Arglwydd cawn
Hyfrydwch gwell o lawer iawn.

2 Mae rhyfeddodau rif y dail
Yn mherson hynod Adda'r ail;
Difyrwch penaf nef y nef
Yw edrych ar ei degwch Ef.

3 Y mae yn angeu Iesu Grist
Ryddhad i'r enaid euog trist;
Mae ei gyfiawnder perffaith Ef
Y wisg enwocaf yn y nef.

4 Na foed i ddim mo ddwyn ein bryd
Oddiwrth Iachawdwr mawr y byd;
Ein neges benaf dan y nef
Fo 'mofyn am ei 'nabod Ef.

**65.** *"Af at y Brenin."* . . *M. H.*

B'LE trof, b'le'r af, wael euog ddyn,
O Dduw, ond atat ti dy hun?
'Rwyf wedi penderfynu'n lân,
Os marw, marw o dy flaen.

2 Y mae teyrnwialen auraidd gras
Yn estynedig eto'i maes;
Arwydd i ddyn, mai 'wyllys Duw
Yw maddeu'i fai, a'i gadw'n fyw.

3 Os derfydd byth am danaf fi,
Wrth ddrws trugaredd bydd fy nghri;
Os marw wnaf, caiff hyny fod
Lle na bu farw neb erioed.

**66.** *Agwedd gwas.* . *M.* . *H.*

BOED clod a mawl i Fab y dyn,
Am dd'od yn was mor wael ei lun,
Heb le i roi ei ben i lawr.
Er nad oedd neb drwy'r nef mor fawr.

2 Clod byth a mawl a fo i'r Oen,
Aeth er ein mwyn dan y fath boen,
Clod am ei waith, clod am ei waed,
Mae'r ffordd yn rhydd 'nawr at y Tad.

3 Tu draw i'r bedd holl lu y nef
Ro'nt glod i Grist yn llon eu llef;
Yn mhlith y llu, heb friw na phoen,
Os caf fi fyw, rho'f fawl i'r Oen.

**67.** *Marwolaeth y Saint... M. H.*

CLYWCH lais o'r nef, cyhoeddi mae
Wynfyd i'r meirw, dduwiol rai;
Eu cwsg sy'n esmwyth yn y pridd,
A'u henwau'n perarogli sydd.

2 Yn Iesu marw'n ddedwydd maent,—
Mor felus ydyw hûn y saint!
Rhydd oddiwrth bechod gwnaethwyd hwy,
Ni theimlant boen na gofid mwy.

3 Yn mhell o'r byd a'i adfyd trist,
Maent yn bresenol gyda Christ,
Llafurus waith eu bywyd brau,
Mewn gwobr fawr diweddu mae.

**68.** *Breuolder oes dyn...M. H.*

PA beth yw dyn, na neb o'i ryw,
Ond megys gwan lysieuyn gwyw?
Y boreu tyfa'n wych ei wawr,
Prydnawn y torir ef i lawr.

2 Pa beth yw uchder gradd, na grym,
Dan ddyrnod llaw yr angeu llym?
Dwg wych a gwael, a'r iacha'u gwedd,
Yn glau o'r byd dan gloiau'r bedd.

3 Er hyny'r enaid bach fydd byw,
Nid marwol ond anfarwol yw;
O wydd y farn rhaid iddo fe
Ymddeol i'w dragwyddol le.

4 Ystyriwn, profwn hyn mewn pryd,
Yn mha ryw fan, yn mha ryw fyd
Y bydd ein lle, 'nol gado'r llawr,
Yn y tragywydd fyd sydd fawr.

**69.** *Bedd y Cristion. . . M. H.*

YN awr i'th fynwes, dywyll fedd,
Cyflwyno'r ŷ'm ein brawd mewn bedd;
Gofala'n dyner am ei lwch,
Tra'n huno dan dy lèni trwch.

2 Ni ddaw un loes, na chroes, na chri,
Gorthrymder dwys i'th randir di,
I flino neb o'r rhai y sydd
Yn gorphwys yn dy gelloedd cudd.

3 Ar ol y dydd a'i lafur maith
A holl flinderau'r farwol daith,
Mor felus fydd priddellau'r glyn,
I'w gorph blinedig wedi hyn.

4 Ond nac ymffrostia, reibus fedd,
Er mor lygradwy'n awr ei wedd,
Fe'i gwelir eto'n hardd ei bryd,
Er gwaetha'th alanastra i gyd;

5 Yn gorfoleddu uwch dy lawr,
A'i gorph yn ddysglaer fel y wawr;
Yn llawn o nerth a didranc mwy,
Heb deimlo'n llesg na methiant mwy.

6 Am hyny rhoddi wnawn, trwy ffydd,
Ei gorph i'r ddaear, pridd i'r pridd,
Nes delo'r awr i'w alw fry,
Ar ddysglaer wedd ei Brynwr cu.

**70.** *Dyfodiad Crist i'r farn. . . M. H.*

MAE Brenin nef ar fyr yn d'od,
Mewn rhwysg na welodd neb erioed;
Mae angeu, uffern fawr, a'r bedd,
Yn ofni edrych ar ei wedd.

2 Fe lysg y byd yn ulw mân,
Fe dry'r greadigaeth fel o'r blaen;
Cwymp y planedau er eu maint,
Bydd Iesu'n Frenin ar ei saint.

3 Mi wela'n codi'r Seren ddydd,
Mi glywa'r canu yno fydd;
Angelion gyd â'r saint yn un,
Yn cadw cwmni Mab y dyn.

**71.** *Meusydd nefol. . . M. H.*

I'R meusydd nefol fry, lle rhed
Y dyfroedd bywiol pur ar led,
Dymunai'm henaid 'hedeg 'nawr,
Ond pechod sy'n ei wasgu lawr.

2 Dy werthfawr waed, anwylaf Grist,
All dynu'm holl euogrwydd trist,
A thithau'r g'lomen nefol fwyn,
All ar d' adenydd yno'm dwyn.

3 Pe gallwn esgyn fyny i'r ne',
A gwel'd gogoniant llawn y lle,
Mor fach, mor wael a fyddai'r byd
A'i bethau yn fy nghyfri' i gyd.

4 Y Brenin mawr, Duw oll yn oll,
Gâd wel'd dy wyneb teg heb goll;
A'm holl bwerau seinia i maes
D' anfeidrol fawredd di a'th ras.

**72.** *Diwedd blwyddyn. . . M. H.*

AT rif treuliedig flwyddau'm hoes,
Un arall aeth, ei thro a roes,
Llefaru maent o hyd yn glau,
Yr olaf sydd yn agosâu.

2 Dyn wyf dan ddeddf holl ddynol-ryw,
Unwaith i farw, ond byth i fyw;
Llaweroedd o'm cyfoedion cu,
A fudwyd draw i'r beddrod du.

3 Rhyfeddu 'rwyf i'm Harglwydd hael
Fy arbed i, bren diffrwyth gwael;
Cynhyrfed hyn fy enaid llon
I iawn ymostwng ger ei fron.

4 Pa beth a dalaf, Ior, fy ngrym,
It' am dy holl ddaioni im'?
Boed gweddill f' oes bob dydd ac awr,
Yn oes i foli'th gariad mawr.

**73.** *Oesau llon. . . M. H.*

TYR'D nefol G'lomen oddi fry,
A chod ni ar d'enydd cu;
Esgyn a dwg ni fyny'n grwn,
Uwchlaw holl bethau'r bywyd hwn.

2 Tuhwnt i'r wybren isaf hon,
Lle try tragwyddol oesau llon,
Lle mae pleserau pur dilyth,
A ffrwythau i wledda'r seintiau byth.

3 Pa bryd, fy Iesu, daw y dydd,
A'r hyfryd awr i'm gwneud yn rhydd,
Pan gaffwyf ado'r tŷ o glai
I drigo 'mhlith y cyfryw rai.

**74.** *Ffarwel. . . M. H.*

FFARWEL fy mrodyr anwyl iawn,
Dros enyd fechan ni 'madawn;
Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd,
Yn Salem hardd oddeutu'r bwrdd.

**75.** *Digonedd yn Nuw... M. H. D.*

MAE Duw yn awr a thyner lef
Yn galw pawb dd'od ato ef;
Mae'n wisg i'r noeth, mae'n nerth i'r gwan
Mae'n Dad i'r unig yn mhob man;
Mae'n fara i'r newynog rai,
Mae'n feddyg rhad i lwyr iachau,
Mae'n dysgu'r ffol i ffoi mewn pryd,
Am drysor gwell na phethau'r byd.

2 Ni raid im' ddigaloni dim
Wrth wel'd ystormydd yn eu grym,
Ond cadw'm golwg drwy bob tòn,
Ar Iesu fy Eiriolwr llòn:
Rho'f arno'm pwys tra yn y byd,
Mae'n abl dwyn fy maich i gyd,
Trwy rwystrau fyrdd a'f yn y blaen,
Mae'n ddigon yn y dwr a'r tân.

**76.** *Tynu ymaith y pechod... M. H. D.*

FY enaid hed tua'r nef o hyd,
Ac aed fy nghalon yno i gyd;
A doed cystuddiau i mewn yn lli',
Minau a gwynaf wrthyt ti:
'Does unrhyw ofid, unrhyw boen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen;
Ac yn ei ofid Ef a'i gri,
Mae holl esmwythder f' enaid i.

2 Mi wn mai 'meiau duon iawn,
Yw'r achos o'm cystuddiau'n llawn;
Symud fy mai, fe gwymp y ffon
O'th sanctaidd law y fynyd hon:
'D oes yn dy galon ond llesâd,
Maddeuant, hedd, a gwir iachâd;
Cymer dy ffordd, can's credu'r wyf
Mai dyna'r ffordd iachair fy nghlwyf.

**77.** *Haeddiant Calfari... M. H. D.*

O TYR'D i ben ddedwyddaf ddydd,
A gad i'm hysbryd fyn'd yn rhydd:
Rho brawf, rho brawf, ar frys i mi,
O ddwyfol haeddiant Calfari;
Fel gallwyf rodio'n ddinacâd,
Dan awel hyfryd rhin dy waed,
A threulio f' amser, ddydd a nos,
Mewn myfyr am dy angau loes.

2 Ac na bo gras o fewn y nef,
Na chaffwyf ran o hono ef:
A gwna na byddo genyf flas,
Ond ar dy gariad a dy ras:
Fy unig gysur yn y byd
Fo edrych ar dy wyneb pryd:
A'm hamser elo heibio'n llawn,
Wrth ganu am dy ddwyfol ddawn.

**78.** *Iesu yn unig Waredwr... M. H. D.*

PWY wrendy gwyn fy enaid gwàn,
Pwy gydymdeimla yn mhob màn?
Pwy wyr fy eisiau nos a dydd?
Pwy ddyry f' enaid caeth yn rhydd?
Neb ond yr hwn fu ar y groes
Yn dyoddef droswyf farwol loes;
Efe sy'n awr tu draw i'r llèn,
Yn eiriol yn y nefoedd wèn.

2 Pan byddwyf rhwng y tònau mawr,
Mewn braw ac ofn yn suddo lawr,
A chan eu swn—fy enaid syn!
Yn teimlo anghrediniaeth tyn,
Pwy'm dwg i'r làn er maint y lli',
O Iesu grasol! ond tydi,
A gwneud im' gerdded ar y dòn,
Gan roi tangnefedd tan fy mron?

3 Yn wyneb pob rhyw 'storom gref
Mi drof fy ngolwg ato ef;
Mae gair o'i enau ef yn awr
Yn fwy na gallu uffern fawr;
Mae'n agor y carcharau'n un,
Mae yn rhyddhau y caeth ei hun,
Ac yn cyhoeddi gwir ryddhâd
Tragwyddol mewn maddeuant rhâd.

4 O! f' enaid, cân o herwydd hyn,
A chofia am Galfaria fryn,
A than ei gysgod gwna dy nyth—
Mae yma ddiogelwch byth;
Ac nid oes damnedigaeth mwy
I'r sawl a guddiwyd yn ei glwy',
Ond bydd rhyfeddu dwyfol loes
Yr hwn fu'n marw ar y groes.

**79.** *Llwyddiant Efengyl. . . M. H. D.*

BOED i efengyl Iesu mawr,
I lanw gwyneb daear lawr,
Ei hyfryd sain a'i goleu clir
Fo'n amlwg yn yr anial dir,
Fel byddo i'r Cenedloedd oll,
Ymgasglu yn nghyd, heb un ar goll,
Iuddewon hefyd yn gytûn,
I gyd foliannu Mab y dyn.

**80.** *Marwolaeth baban. . . M. H. D.*

O GOLLWNG fi, dyneraf fam
Mae gorchudd angeu dros fy ngrudd;
Na foed i'th galon bur ddinam
O achos hyn ymdeimlo'n brudd;
Fel cragen wan wyf ar y traeth
A ddygir gan lifeiriol li',
O flaen y gwynt y don a ddaeth
Mae'n sio, clyw, O gollwng fi.

2 O gollwng fi, pererin wyf
A ddaeth i weled byd o wae,
Wrth wenu arno rhoes im' glwyf
A chwerwi fy nysgleidiau mae:
Er gwaetha'r byd, gobenydd gâf
Esmwythach na dy ddwyfron di;
Mi wela'n awr yn mynwes Naf
Ystafell gled, O gollwng fi.

**81.** *Y Cyfaill gorcu... M. H. 6 llin.*

WEL, dyma'r Cyfaill goreu gaed,
Mae'n gan-mil gwell na mam na thad,
Y'mhob caledi ffyddlawn yw:
Mae'n medru maddeu a chuddio bai,
Ac o'i wir fôdd yn trugarhau,
Wrth bechaduriaid gwael eu rhyw.

2 Y sawl a'th gaffo gwynfyd hwy,
Ni allant byth ddymuno mwy,
Ti lenwi eu heisiau oll yn llon;
Mae môr a thir, a da, a dyn,
Oll yn dy heddwch di dy hun,
A mwy nag fedd y ddaear hon.

3 Angenus wyf bechadur gwan,
Am hyn 'rwy'n tynu tua'r làn,
Yn gweled digon gan fy Nuw;
Trysorau pe cawn eu mwynhau,
A laddai 'ngofid, laddai 'ngwae,
Ac a ngwnai'n llawen tra f' wyf byw.

**82.** *Rhagoroldeb yr Iesu... M. H 6 llin.*

NI welodd llygad dyn erioed,
Ni chlywodd clust o dan y rhôd,
Am neb cyffelyb iddo ef;
O Rhosyn Saron, hardd ei liw
Pwy ddatgan byth rinweddau'm Duw?
Efe yw bywyd nef y nef.

2 Gorchfygodd trwy angeuol glwy',
Elynion creulon nerthol fwy
Nag all'sai'r byd orchfygu'n un;
Fe faeddodd uffern ëang lawn,
Ar ben Calfaria un prydnawn,
Yn lân heb neb ond ef ei hun.

3 Mae yn ei glwyfau drysor drud,
I faddeu beiau pena'r byd,
O flaen yr orsedd bura' sydd;
Ni all euogrwydd yno ddim,
Fe gyll y ddeddf ei damniol rym,
Maddeuant perffaith garia'r dydd.

**83.** *Angeu'r groes. . .M. H.* 6 *llin.*

NIS gall angylion nef y nef,
Fynegi maint ei gariad Ef;
Mae angeu'r groes yn drech na'u dawn;
Bydd canu uwch am Galfari,
Nag glywodd yr angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

2 Y penaf drysor heddyw yw,
O fewn y nefoedd gwaed fy Nuw,
Holl sylwedd y caniadau i gyd;
A dyma'r gwaed a roddodd iawn,
I ddwyfol ddigder, perffaith lawn,
Fy hedd a'm cysur yn y byd.

**84.** *Concwest Calfaria. . . M. H.* 6 *llin.*

GWNAWD concwest ar Galfaria fryn,
Am dano canodd myrdd cyn hyn;
Fe faeddodd uffern fawr i gyd:
Fe brynwyd gwael golledig ddyn,
Fe wnawd y ddwyblaid ddig yn un.
A gwaed Iachawdwr mawr y byd.

2 Rhyw ddyfais o anfeidrol faint,
Oedd cariad Iesu at ei saint,
Agorodd ffordd i ganol nef:
Cariad heb gymhar iddo'r un;
A nofiodd yn ei waed ei hun
Trwy angeu, oedd ei gariad ef.

3 Na thawed tafod o un rhyw,
Na dim o dan y nef sy'n byw,
Heb son am goncwest gwaed yr Oen:
Bydd oesoedd meithion fwy na mwy,
Heb rif, heb ddarfod arnynt hwy,
I ganu am ei ddirfawr boen.

**85.** *Crist croeshoeliedig... M. H. 6 llin.*

YN Salem draw bydd peraidd sôn,
A chanu i'r croeshoeliedig Oen,
Am iddo dalu'r dyled mawr:
A dwyn pechadur oedd yn gaeth,
I ryddid pur yn wir a wnaeth,
Fe gaiff y clod gan lwch y llawr.

2 'Rwy'n caru cofio am ei glwy',
Ac am ei waed mi gana' mwy;
Myfyrio wnaf ar ddwyfol loes:
Mi gofiaf hefyd am yr awr,
Y t'w'llodd nef, y crynodd llawr,
Pan oedd E'n gruddfan ar y groes.

3 Yn foddlon mae cyfiawnder Duw,
A'i gyfraith anrhydeddus yw;
O'r carchar caeth daw myrdd yn rhydd;
Boed clod i Dywysog mawr y ne',
Fe aeth i'r lladdfa yn ein lle,
O f' enaid cân wrth gofio'r dydd.

**86.** *"A fynai ei ddryllio ef." M. H. 6 llin.*

O DYMA syndod pena'r nef,
Yr Arglwydd fyna'i ddryllio ef;
  Efe a'i clwyfodd ar y groes,
  Daeth hedd i lawr drwy'i farwol loes:
Ystyried pechaduriaid hyn,
A chofiant am Galfaria fryn.

2 Am roddi ei einioes bur i lawr,
Bydd ffrwyth o hyn fel gwlith y wawr,
  O'r bedd fe ga'dd estyniad oes,
  Fe lwydda'i waith er marwol loes:
Ystyried pechaduriaid, &c.

3 Diwellir ef, fe wêl ei hâd
Yn d'od yn llu o bob rhyw wlad,
  Gwybodaeth fel y boreu ddydd
  A ddaw, a chyfiawnhâd trwy ffydd:
Ystyried pechaduriaid, &c.

4 Rhwng y troseddwyr ar y groes
Dyoddefodd lid a marwol loes,
  Ond, llefodd ar ei Dad tan glwy',
  "O rho faddeuant iddynt hwy:"
Ystyried pechaduriaid, &c.

**87.** *Rhwygo'r llen. . . M. H. 6 llin.*

FY enaid, gwel ar Galfari,
Rad ras a chariad fel y lli',
  Pan drengai Iesu ar y pren,
Yn Aberth dros yr euog rai,
Er agor ffordd i faddeu bai,
  Gruddfanodd ef nes rhwygo'r llen.

2 O moler ef am wisgo cnawd,
Mewn agwedd gwas daeth yma'n dlawd,
Ond llyncodd angeu ar y groes;
Ar orsedd nef mae 'nawr yn Ben,
Mawryger ef am rwygo'r llen,
A chofiwn am ei farwol loes.

**88.** *Pa Dduw fel tydi... M. H. 6 llin.*

DUW mawr y rhyfeddodau maith,
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith,
Ond maddeu bai, mwy rhyfedd yw,
Na'th holl weithredoedd o bob rhyw;
Pa Dduw sy'n maddeu fel tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni?

2 Trwy waed yr Iesu cywir cu,
Maddeuant gawn o'n beiau du,
Clodforwn byth dy gariad llawn,
Ei brofi a'i ryfeddu wnawn:
Pa Dduw sy'n maddeu fel tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni?

**89.** *Maddeuant... M. H. 6 llin.*

MADDEUANT rydd im' wir iachâd,
Maddeuant sy'n dwyn gwir lanhâd,
Maddeuant rhad—O ddwyfol ddawn!
Maddeuant gwyd fy nhraed i'r Graig,
Maddeuant faedda ddrygau'r ddraig,
Maddeuant drwy anfeidrol Iawn.

2 Am lawn faddeuant, f'enaid, cân
Ag uchel lef i'th Iesu glân,
Nid oes dim damnedigaeth mwy;
Ond hedd a chymod i barhau,
A bythol achos llawenhau,
Caed iechydwriaeth i dy glwy'.

**90.** *Cymhorth yn yr Arglwydd.. M. H. 6 llin.*

O ARGLWYDD rho dy wyneb glân,
  I lòni f' enaid gwan bob dydd,
A'm nerthu yn y dw'r a'r tân,
  I dynu ar dy ol drwy ffydd,
O cadw'm golwg ar y gwaed,
A llywodraetha di fy nhraed.

2 Na âd im' bwyso tra b'wyf byw
  Ar ddim a welwyf is y rhod,
Ond ar ffyddlondeb dwyfol Duw,
  Am nerth i dynu at y nôd:
O cadw'm golwg, &c.

3 O dan dy gysgod dwyfol byth
  Mae rhyw ymddiffyn mawr yn bod:
Tydi f'o im' yn nawdd a nyth
  Tra b'wyf mewn rhyfel is y rhôd:
O nertha f' enaid gwan o hyd
Ro'i ofal arnat yn y byd.

4 Pwy'm dwg y'mlaen er rhiwiau serth?
  Pwy'm cuddia yn y frwydr boeth?
Pwy, ond Preswylydd mawr y berth,
  A'm dysga i ryfela'n ddoeth?
O nertha f' enaid, &c.

**91.** *Cwyn y Cristion... M. H. 6 llin.*

CLAF wyf a llesg, bron llwfrhâu,
  Am i ti guddio 'th wyneb cu;
A'th fod di cyhyd yn pellhâu,
  Rwy'n gruddfan yn y dyfnder du:
Rho wel'd dy wedd fy IOR ar frŷs,
Neu cymer fi i dy Nefol lŷs.

2 Pechod a galar, colled, poen,
  Sy'n gwbl dan yr haul yn un;
Gorphwys nid oes i deulu'r Oen,
  Mewn dim ond ynot ti dy hun:
Nerth bellach rho rhag im' lwfrhâu,
Dy ras yw'm sylfaen i barhâu.

3 'Does yma un cynhaua' i'w gael,
  Mewn Nefol Ganaan mae fy rhan;
Pan dêl y Sabboth perffaith hael,
  Cawn addfed ffrwythau yn y man:
Nerth bellach rho, &c.

**92.** *Gwlad y cibau. . . M. H. 6 lin.*

FFOLINEB mawr oedd aros c'yd
Mewn gwledydd pell, a rhoddi'm mryd
  Ar gibau gweigion dilesâd:
O'r tlawd ardaloedd 'rwyf yn troi,
A thua'r nefoedd gwna im' ffoi,
  At haeddiant llawn y dwyfol waed.

2 Ffarwel 'rwy'n roi i'r oll i gyd
A ganfu natur yn y byd,
  Gwagedd o wagedd ydynt hwy:
Fy unig etifeddiaeth yw
Tragwyddol gariad pur fy Nuw,
  A'm cysur ar y ddaear mwy.

**93.** *Dwyn y pell yn agos. . . M. H 6 llin.*

UNWAITH trwy ddyoddef angeu loes
Gwnaeth ffordd agored ar y groes
  I'r pelledigion gael nesâd;
Fe dynodd, do, y canol fur,
Pan yfodd waddod cwpan sur—
  Mae iachawdwriaeth yn ei waed.

2 Mae modd i'r caethion gael rhyddhâd,
A'r gwahangleifion wir iachâd,
A'r pell eu dwyn i ddinas Duw.
O doed y byddar, mud, yn awr,
A'r dall i wel'd goleuni mawr—
Nesewch y'nghyd, dydd achub yw.

**94.** *Amynedd dan y groes. . . M. H. 6 llin.*

A RAID i gystudd garw'r groes
I ddilyn f' ysbryd ddydd a nos?
Os rhaid, gwna fi yn foddlawn iawn
Tan ganu gwna im' fyn'd yn mlaen,
Yn llawen yn y dw'r a'r tân,
O foreu 'mywyd hyd brydnawn.

2 Os trof i'r dwyrain faith neu'r de,
'Does neb yn ffyddlawn fel Efe:
Mae'n gwneud fy ysbryd llesg yn llon;
Goddefaf golled o bob rhyw
Yn mhresenoldeb hoff fy Nuw,
A holl gystuddiau'r ddaear hon.

3 'Dwy'n ofni ond yr afon ddu,
Sydd rhyngwyf a fy nghartref fry,
Yr angeu glâs wnaeth fyrdd yn wan:
Fy enaid 'mafael yno'n llaw
Yr hwn ei hun aeth trwyddi draw,
Ac yn ei law mi ddof i'r lan.

**95.** *Gostyngeiddrwydd. . . M. H. 6 llin.*

AETH Mair, gan ddewis y rhan dda,
I lawr at draed yr Iesu gwiw,
A chalon isel Lydia fwyn
A wnaed yn addas deml i Dduw:
Y galon decaf oll yn wir
Sy'n gwisgo gostyngeiddrwydd pur.

2 Y sant gaiff uchaf goron nef
  Yw'r isaf ei addoliad gwyl,
Gan bwys gogoniant plyg i lawr,
  Pan fwyaf fyddo'i nefol hwyl:
Agosaf i'r orseddfainc fry
Yw troed-fainc gostyngeiddrwydd cu.

**96.** *Galwad ar Henaint. . . M. H. 6 llin.*

HYD heddyw mae cyhoeddi mawr,
I alw holl drigolion llawr,
  I dd'od yn awr, heb oedi'n hwy;
O tyr'd bechadur ymarhous,
Fe gymer Duw weddillion d'oes,
  A gwaed y groes, iachâ dy glwy'.

**97.** *Sion fel y wawr. . . . M. H. 6 llin.*

FE welir Sion fel y wawr,
Er tloted yw ei gwedd yn awr,
  Yn d'od o'r cystudd mawr i'r lan:
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn y cyfiawnder pur dilyth,
  Saif yn y diwedd yn ei rhan.

2 Datguddia'n gyflawn im' ar frys,
Ogoniant maith dy nefol lŷs,
  Didranc bleserau'r sanctaidd dir:
O dangos im' mai ti yw'm rhan,
Ac o'r dyfnderoedd tŷn fi i'r lan,
  I'th gyflawn weled cyn bo hir.

3 Wel f' enaid cerdd y ffordd yn hy',
Yn union tu a Salem fry,
  A chadw'th lygaid at y nôd:
Calfaria fryn lle gweli'r groes,
A'i haberth arni tan ei loes,
  Rhyfeddod mwya'r nef erioed.

**98.** *Rhagoroldeb yr Iesu... M. 8, 8.*

NID yw hardd wrthrychau daear,
Oll ond dim wrth Iesu hawddgar,
Nid yw'r nefoedd i'w chydbrisio,
Pe b'ai nefoedd i'w chael hebddo.

2 Iesu ei hunan yw fy nefoedd,
Tros fy oes ac yn oes oesoedd;
Nef fy nefoedd fydd ei garu,
Ei fwynhau, a'i bur-foliannu.

3 Nid oes neb ond Ef ei hunan,
A wna'r euog brwnt yn burlân;
Mae fe'n ddigon i droseddwr,
Mae fe'n berffaith lawn Waredwr.

4 O na allwn garu'r Iesu
Yn fwy ffyddlawn, a'i was'naethu;
Dweyd yn dda mewn gair am dano,
Rhoi fy hun yn gwbl iddo.

**99.** *Tegwch Iesu.. M. 8, 8.*

IESU ydyw'r unig wrthrych,
Yn dragwyddol sydd i'w chwenych:
Ef sy'n llenwi'r nef â chysur,
Ef a leinw wael bechadur.

2 Beth yw dwysaf berlau'r India?
Aur Peru, neu gyfoeth China?
Beth yw'r holl drysorau euraid?
Dyddim oll wrth Geidwad enaid.

3 Dyma'r un ordeiniodd Duwdod,
I roi perffaith iawn am bechod;
Hwn yw'r un a bia'n wiwfraint,
Gadw enaid rhag digofaint.

**100.** *Noddfa i lofruddion. . . M.* 8, 8.

CANED pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion;
Noddfa glyd rhag llid dialydd,
Noddfa rad y'ngwlad y cystudd.

2 Tra rhaid i mi wisgo'r arfau,
Dwyn y groes trwy orthrymderau,
Rho dy gwm'ni, dyna ddigon,
Nes myn'd adre' i wisgo'r goron.

3 Canwn mwy am waredigaeth,
Heb ei hail i blant marwolaeth:
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

4 Caned nef a daearolion,
Sain Hosanna i Frenin Sïor;
Llawn tosturi yw e'n wastad,
Nid oes diwedd ar ei gariad.

**101.** *Ymddarostyngiad Crist. . . M.* 8, 8.

WELE 'n wir ddirgelwch gwiwlân,
Gwir Fab Duw yn faban bychan!
Lluniwr nef, a'r môr, a'r ddaear,
Yn wir ddyn, yn blentyn hawddgar.

2 Awdwr cyfraith yn ei Dduwdod,
Tan y gyfraith yn y dyndod!
Crëwr yr holl fydoedd gwiwlwys,
Ac heb feddu lle i orphwys.

3 Beth a'i dŷg mor rwydd a pharod,
O lŷs nef i wlad o nychdod?
Beth a'i dŷg i fryn Calfaria?
Cariad, cariad—Haleluia!

4 O pa beth a gafodd ynom,
I gynhyrfu cariad atom?
Dim, ond brâd a du elyniaeth;
Seiniwn iddo, Iachawdwriaeth!

**102.** *Cleddyf y cadarn...* *M.* 8, 8.

GWISG dy gleddyf, gadarn Iesu,
A dos allan i orchfygu:
Mŷn bob cwr o'r byd i'th feddiant,
Er mwyn d' enw a'th ogoniant.

2 Cyn bo hir gwnaed pur wybodaeth
O Dduw lenwi'r ddaear helaeth;
Megys ag y töa'r dyfroedd
Eang gylch y dyfnion foroedd.

**103.** *Sefyllfa yr Annychweledig...* *M.* 8, 8.

TRWM yw cysgu ar y tywod
Lle mae'r môr yn arfer dyfod:
Trymach cysgu mewn anhwyldeb,
Ar fin ceulan tragwyddoldeb.

**104.** *Pleserau crefydd...* *M.* 8, 8.

'NAWR 'rwy'n gwel'd yr ardal hyfryd,
Hen gartrefle fy Anwylyd,
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron,
Yn llifeirio fel yr afon.

2 Ffarwel bellach, hen bleserau,
Dwyllodd f' ysbryd fil o weithiau;
Cefais bleser can-mil purach,
'Ddaw o'i ganlyn ofid mwyach.

3 Nef a daear byth ni phrisia',
Cefais Berl, mae'n well na'r India;
Iesu a'i drysor, dyna'i sylwedd,
Nef y nefoedd yn y diwedd.

4 Blwyddau hirion o ryfela,
'N oruchafiaeth a derfyna;
Fe dry galar am bob beiau,
Yn Hosanna, ond eu madden.

**105.** *Llwyddiant yr efengyl... M.* 8, 8.

AED efengyl fel y wawrddydd,
'Mlaen i gludo myrdd trwy'r gwledydd,
Ac aed sain yr udgyrn arian,
I ddadymchwel teyrnas Satan.

2 T'wyned haul ar fyrdd o werin,
Sy'n y Dwyrain a'r Gorllewin;
Son am Iesu lanwo ynysoedd,
Fel mae'r dyfroedd yn toi'r moroedd.

3 Doed myrddiynau maith o'r Indiaid,
Hen Iuddewon a Phaganiaid;
A'r ynysoedd a fo'n nesu,
'N dorf drwy ras tan faner Iesu.

4 Llwyddiant i'r cenadon ffyddlon,
Sy'n cyhoeddi efengyl dirion,
I gael torf ddirif trwy gredu,
'N berlau hardd yn nghoron Iesu.

**106.** *Anthem Pen Calfaria... M.* 8, 8.

MAE rhyw dorf ddirif o seintiau,
'Nawr yn canu eu telynau;
Ac yn seinio Haleluia,
Dechreu anthem pen Calfaria.

2 Dengmil o delynau'n canlyn,
Cân nefolaidd, bur, ddiderfyn;
Yr angylion gyda'r seintiau,
Yr un sylwedd eu caniadau.

3 Pan wrth lân yr hen Iorddonen,
F' enaid athrist gân yn llawen,
Af ar fyr i'r wlad na dderfydd
Pur orfoledd yn dragywydd.

4 Croesaw hyfryd foreu hawddgar,
Pan ddel lluoedd nef a daear
I gydganu am ben Calfaria,
Gyd â'u Priod. Haleluia.

**107.** *Tri yn Un... M. N. 8au.*

'DOES mesur amseroedd byth fry,
Dim oriau cyffelyb i'r byd;
Myn'd heibio ryw oesoedd y sy',
Wrth ganu i'r Drindod yn nghyd:
Y nerth, yr anrhydedd a'r clod,
Y parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awrhon, ac felly bu erioed,
I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri.

2 Mae yno Dri Pherson yn bod,
Ac eto mewn sylwedd ond Un,
Gogyfuwch mewn gallu a chlod,
Wrth wared plant Adda'n gytûn:—
Yn hyn rhyw ddyfnderoedd y sydd,
Diwaelod, anfeidrol eu mhaint,
Er hyny eu credu drwy ffydd,
Yw sylfaen holl gysur y saint.

**108.** *Clod i Dduw. . . M. N. 8au.*

BOED clodydd, ïe beunydd heb wâd
Yn wastad i'm Harglwydd a'm Duw,
Am iddo o'i gariad yn rhad
Ddwyn Ceidwad i'm cadw yn fyw;
Ei Uniganedig a rodd,
O'i wirfodd fe'i t'rawodd ar bren,
Trwy rinwedd ei haeddiant mae modd,
I minau gael gwynfyd y nen.

2 Ymdrechwn yn nghwmp'ni ei blant,
Er blinfyd, i fyned yn mlaen,
Mae eraill yn uchel eu tant,
A aethant trwy ddw'r a thrwy dân;
Mae cario y palmwydd heb gledd,
Tu arall i'r bedd i ni'n bod,
A ffyddlon Arweinydd mewn hedd,
Boed iddo'r anrhydedd a'r clod.

3 Trwy Iesu ein Prynwr sydd fawr,
Cawn adael y llawr yn dra llon,
A myned i'r Ganaan i fyw
Lle ni ddaw un briw mwy i'n bron;
Llawenydd, hyfrydwch a gawn,
A chystudd a galar a ffŷ,
Yr wylo a dderfydd yn llawn,
Gorfoledd tragwyddol sydd fry.

**109.** *Cariad Crist... M. N. 8au.*

PA feddwl, pa 'madrodd, pa ddawn,
Pa dafod all osod i maes,
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
Mor gryfed ei gariad a'i ras!
Afonydd sy'n rhedeg mor gryf,
Nas dichon i bechod na bai,
Wrthsefyll yn erbyn eu llif,
A'u llanw ardderchog didrai.

2 Fel fflamau angerddol o dân,
Yw cariad fy Anwylyd o hyd;
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
Fe yfodd o'r afon i gyd:
Ymaflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd a'r Duwdod yn un!
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe'i llanwodd â'i haeddiant ei hun.

8 Wrth gofio'i ruddfanau'n yr ardd,
A'i chwys fel defnynau o waed,
Aredig ar gefen mor hardd,
A'i daraw â chleddyf ei Dad;
Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio wrth groesbren o'i fodd,
Pa dafod all dewi am hyn?
Pa galon mor galed na thodd?

**110.** *Buddugoliaeth Crist... M. N. 8au.*

PWY welaf o Edom yn d'od,
Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru tan wadn ei droed,
Elynion yn lluoedd i'r llawr:
Ei wisg wedi ei lliwio gan waed,
Ei saethau a'i gleddyf mor llym,
Ei harddwch yn llenwi'r holl wlad,
Yn ymdaith yn amlder ei rym.

2 Myfi, hwn wyf Alpha cyn byd,
Wyf gadarn i ladd ac iachâu,
Fy ngeiriau a safant i gyd,
Pan ballo ffyddlondeb pob rhai:
Ond pa'm mae dy wisgoedd yn waed,
A'th gleddyf cyn goched ei fin,
Fel un a fai'n sathru tan draed,
Y gwinwryf yn ngwinllan y gwin?

8 Wrth weled y fyddin mor fawr,
Dan arfau yn llawnion o lid,
Yn llanw holl wyneb y llawr,
Y bobl a giliodd i gyd;
Gadawyd fi'n unig heb ail,
I sefyll yn ngwyneb fy nghâs,
Gelynion cyn amled a'r dail,
Yn llanw holl gyrau y maes.

4 Mi godais i fyny fy llaw,
Ymleddais, enillais y dydd,
Fy holl waredigion a ddaw,
A'm caethion a roddir yn rhydd:
Enillais fath goncwest trwy waed,
Mae genyf lywodraeth mor fawr,
Hyd eithaf trigfanau fy Nhad,
Mae'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr.

**111.** *Crist yn bob peth... M. N.* 8au.

CYFLAWNWYD y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llid heb fy lladd;
Cyfiawnder wrth hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd;
Cyfiawnder a'r gyfraith sy'n awr,
Yn edrych i lawr yn ddilid;
Mae'r Priodoliaethau mewn hedd
Yn gwaeddi trugaredd i gyd.

2 Ein Hymborth, ein Cymhorth, a'n Cân,
Y'ngwyneb deddf burlân, a'r bedd;
Ein Trysor, ein Hallor, a'n Nerth,
Oen pridwerth, ein Haberth a'n Hedd;
Ein T'wysog galluog a llawn;
Ein Iawn i ddeddf gyfiawn ddigoll,
Ein Brenin a'n Prophwyd mewn bri,
Mae'n Babell i ni oll ac yn oll.

**112.** *Diogelwch y Duwiol... M. N.* 8au.

A DRIGO 'nghymdeithas y Tad,
Ei aden yn gauad a'i cudd;
Caiff weled trwy'r aberth a'i ras,
Ddirgelwch ei deyrnas bob dydd,
Dywedaf, Fy Noddfa yw'm Nêr,
A'm tyner Waredwr yw'm Iôn,
Ac ynddo gobeithiaf heb baid,
Am dano fy enaid a sôn.

2 Rhag maglau yr heliwr a'r haint,
Rhag ffrewyll digofaint y cudd;
Tan nodded ei aden a'i sel,
Diogel a fyddi bob dydd;
Trwy'i air, ei wirionedd, a'i ras,
Rhydd borth a nerth addas yn un;
Fel tarian neu astalch i ti,
I'th noddi mae'r Arglwydd ei hun.

**113.** *Agor y seliau. . . M. N. 8au.*

O CYFOD ferch Sïon a gwêl,
Dy freintiau godidog yn awr,
Datodir it' sêl ar ol sêl,
Myn'd rhagddi'n oleuach mae'r wawr;
Tòr allan a llefa, mae'n bryd,
Can's wele dy Frenin yn d'od;
Y'ngherbyd ei gariad trwy'r byd,
I'w enw tragwyddol bo'r clod.

2 Troir ato luosawgrwydd y môr,
Daw Carmel a Saron yn un;
Breninoedd y ddaear â'u stôr,
Anrhegant yr Iesu'n gytun:
Daw'r Bwystfil a'r Prophwyd i lawr,
A'u gorseddd a fwrir i'r llyn:
Daw diwedd ar Babilon fawr,
Bydd miloedd yn moli am hyn.

**114.** *Brenhiniaeth Crist. . . M. N. 8au.*

CRIST Iesu o'r dyfnder a ddaeth,
Mewn llawn fuddugoliaeth ar g'oedd;
Uwch thronau'r gogoniant i gyd,
Efe a ddyrchafwyd â bloedd:
Ar orsedd deheulaw y Tad,
Mae'n uchel ei alwad yn awr;
Nid rhaid iddo chwysu byth mwy,
Wrth fwrw'i elynion i lawr.

2 O Sïon yr enfyn yr Iôn,
Ryw eglur arwyddion o'i nerth;
Ac ar ei elynion fe fydd
Llywodraeth Preswylydd y berth;
A'i eiddo a edwyn ei lais,
Fel bugail y cais hwynt i gyd;
Mor iraidd ac aml a'r gwlith,
Daw meibion y fendith yn nghyd.

3 O groth y goleuni gwel hâd.
Trwy rinwedd ei alwad a'i ras;
Mewn harddwch sancteiddrwydd ar g'oedd,
Yr enfyn ei luoedd i maes,
Mor amled, mor laned a gwlith,
Hiliogaeth y fendith a fydd;
I ddofi gwylltfilod y daeth
Trwy nerth iachawdwriaeth a'i dydd.

4 Offeiriad tragwyddol a fydd,
Fe dyngodd yr Arglwydd i hyn,
Heb newid ei ddyben a ddwg—
A'i olwg ar Galfari fryn;
'Nol urddas tragwyddol cyn byd,
Bydd Arglwydd y bywyd yn ben;
A'i harddwch tragwyddol a fydd
Heb gwmwl na gorchudd na llèn.

**115.** *Y ffynon ysbrydol. . . M. N. 8au.*

CAED ffynon o ddwfr ac o waed,
I olchi rhai duon eu lliw;
Hi redodd hyd ataf yn rhad,
I'r ardal lle'r oeddwn yn byw;
Er cymaint o rwystrau ga'dd hon,
Grym arfaeth a'i gyrodd hi 'mlaen,
I olchi tŷ Ddafydd o'r bron,
Jerusalem hefyd â'n lân.

**116.** *Duwiol ymroad. . . M. N. 8au.*

WEL cyfod fy enaid yn awr,
  Dy ddiwrnod a aeth yn brydnawn,
I tithau mae siwrnai sydd fawr,
  A'th ffordd o elynion yn llawn :
O cadw dy olwg yn mlaen,
  A'th lygad ar Flaenor y llu,
Nes conc'ro pob gelyn yn lân,
  A myned i'r Ganaan sydd fry.

2 Wel dyma bechadur yn wir,
  A fynodd ei lwybr ei hun,
Ar hyd y ffordd lydan yn hir,
  Fe gerddodd flynyddoedd yn un:
Ond diolch am gariad mor fawr,
  A frysiodd i achub fy mlaen,
Pan oeddwn yn rhedeg i lawr,
  I gartref tragwyddol o dân.

3 Am iddo fy nghofio fel hyn,
  Pan oeddwn yn elyn fy Nuw,
Rhoi iddo'r gogoniant a wnaf,
  Mi molaf tra byddwyf fi byw:
Pa dafod a all fod yn fud ?
  Achubodd fy mywyd i mi,
Tragwyddol ogoniant am hyn
  I'r hwn sydd yn UN ac yn DRI.

**117.** *Rhagorfraint y Cristion. .. M. N. 8au.*

'DOES arnaf ddim c'wilydd o'i groes,
  Ei groes yw fy nghoron a nghlod:
Ei fywyd i'm gwared a roes,
  A'm Ceidwad a'm carodd erioed;
Dyoddefodd waradwydd a phoen,
  A'r felldith ar Galfari fryn
F' anrhydedd yw canlyn yr Oen,
  Yr Oen a ddyodefodd fel hyn.

2 O anferth ogoniant a hedd,
A dirfawr orfoledd o hyd,
Sy'n aros tu arall i'r bedd,
I'w ffyddlon ganlynwyr i gyd;
Eu dagrau a'u gw'radwydd a dry,
I fôr o lawenydd ar frys;
Annhraethol eu gwynfyd hwynt fry,
Yn nheyrnas eu Harglwydd a'i lŷs.

**118.** *Angladd y Cristion. . . M. N. 8au.*

MAE 'n brawd wedi gorphen ei daith,
Ei lafur a'i waith yr un wedd;
A Christ wedi talu ei ddylêd;
Mae'n addfed i fyned i'w fedd:
Caiff gysgu hûn dawel, nes d'od,
Ryw ddiwrnod, heb bechod, yn bur,
O'r beddrod, yn hynod mewn hedd;
Heb ffaeledd na chamwedd, na chur.

2 'Ddaw gwewyr, na dolur, na dig,
Na gelyn, na pheryg', na phoen,
I'w flino'n yr ardal lle trig,
Y'nghwm'ni caredig yr Oen:
Dim achos i wylo ni wel:
Mae'n sicr ddiogel na ddaw
Dim oerni'n ei gariad na'i sêl;
Mae'n dawel, heb ryfel na braw.

3 Ymdrechodd hardd ymdrech y ffydd,
Er uffern fawr beunydd, a'r byd;
Gorphenodd ei yrfa, mae'n rhydd;
Gadawodd ei gystudd i gyd;
Mae bellach yn holl-iach mewn hedd,
O gyr'edd ei lygredd, yn lân:
Dim tristwch i'w feddwl ni fydd;
Hosanna'n dragywydd a gân.

**119.** *Hyder yn angeu... M. N. 8au.*

'RWY 'n nesu at ochr y dw'r,
Bron gadael yr anial yn lân;
Mi glywais am goncwest y Gŵr
A groesodd yr afon o'm blaen;
Fe dreiglodd y maen oedd dan sêl,
Fe gododd yn gadarn i'r làn,
Fe agorodd y llwybr i'r nef,
Mae gobaith i'r truan a'r gwan.

2 Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
A'm prynodd â thaliad mor ddrud:
Fe saif ar y ddaear, gwir yw,
Yn niwedd holl oesoedd y byd;
Er ised, er gwaeled fy ngwedd,
Teyrnasu mae Mhrynwr a Mrawd;
Ar er fy malurio'n y bedd,
Ca'i weled ef eto'n fy nghnawd.

3 Wel, arno bo'm golwg bob dydd,
A'i daliad anfeidrol o werth;
Gwir Awdwr, Perffeithydd ein ffydd,
Fe'm cynal ar lwybrau blin serth;
Fy enaid ymestyn y'mlaen,
Na orphwys nes cyrhaedd y tir,
Y Ganaan dragwyddol ei chân,
Y Sabboth hyfrydol yn wir.

**120.** *Pen Nebo. . . M. N. 8au.*

DWY aden fel c'lomen pe cawn,
Mi hedwn a chrwydrwn yn mhell,
I gopa bryn Nebo mi awn,
I olwg ardaloedd sydd well,
A'm golwg tu arall i'r dw'r,
Mi dreuliwn fy hoedl i ben,
Mewn hiraeth am weled y Gŵr,
Fu farw dan hoelion ar bren.

2 Nis gallaf tra yma'n y cnawd,
Ddim dyodde'r caniadau sydd fry;
Mae llewyrch wynebpryd fy Mrawd,
Yn llawer rhy ddysglaer i mi;
'Nol hedeg a gadael fy nyth,
A chwalu fy mhabell o glai,
Bydd digon o nefoedd dros byth,
Ei weled ef fel ag y mae.

**121.** *Anthem y gwaredigion. . . M. N. 8au.*

PECHADUR fy Arglwydd a'i gŵyr,
Pechadur a garwyd yn rhad,
Pechadur a gliriwyd yn llwyr,
Yn rhyfedd trwy rinwedd y gwaed;
Pechadur a orfu fyn'd trwy
'Ryw 'stormydd o ddyfroedd a thân,
Pechadur na orphwys byth mwy,
Nes dringo i'r nefoedd yn lân.

2 'R anrhydedd, y gallu, a'r clod,
Y moliant a'r parch yn gytûn,
O'r nefoedd i'r ddaear gaiff fod,
Yn gyfan i'm Harglwydd ei hun;
Aed sôn am dy haeddiant trwy'r byd,
Yr adsain fo'n llanw pob lle,
Helaetha dy deyrnas o hyd,
Nes myned yn addfed i'r ne'.

3 Aed ein Haleluia ni'n lân,
Trwy'r awyr anfeidrol ei maint;
Cymysged caniadau rhai gwan,
A thyrfa luosog y saint:
Mae yno adenydd fy Iᴏɴ,
Yn taenu fel nefoedd ar led,
Dros hyfryd briodasferch yr Oen,
O f' enaid i fyny ehed!

**122.** *Caniadau tragwyddol. . . M. N. 8au.*

ANGYLION, seraphiaid, a saint,
Wrth ganu'n soniarus yn nghyd,
Eu hadsain sydd cyfuwch ei faint,
Mae'n crynu'r holl nefoedd i gyd:
Neb yno yn glaear ei gân,
Neb yno'n addoli mewn rhith,
A'u c'lonau sy'n llosgi fel tân,
A gwynfyd a fai yn eu plith!

2 Caniadau newyddion sy' fry,
Tebygwn o glywed eu llef,
Fy enaid blinedig i sy'
Am ddysgu cerddoriaeth y nef:
'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clod,
A'r parch, a'r gogoniant a'r bri,
Yr awr hon fel ag y bu 'rioed,
I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri!

3 Pan gofiant eu dyddiau yn y byd,
A'r amryw dymhestloedd o'r blaen,
Fe 'nyna eu hysbrydoedd hwy 'gyd,
Yn fflamau angerddol o dân;
Gwel'd Iesu, er cymaint eu bai,
Eu codi o bydew mor ddu;
P'odd gall eu calonau hwy lai,
Na seinio'r Jerusalem fry?

**123.** *Crist yn Dduw a dyn. . M. N.* 9, 8.

MAWR ydyw ein henwog Waredwr,
Mae'r Iôr i ni'n Brynwr a Brawd!
Jehofa â'n natur ymunodd,
Y Gair wnaed o'i wirfodd yn gnawd;
Nid ydyw i'r gwan yn rhy uchel,
Ac nid yw'n rhy isel i'r nef,
Mae'n addas Gyfryngwr i'r ddwyblaid,
Ein Dyddiwr bendigaid yw ef.

2 Rhaid ydoedd cael Duwdod i'n cadw,
A dyndod i farw'n ein lle:
Caed Iesu i'r gwagle i'w lanw;
Gwir Dduw a gwir ddyn yw efe:
Ein natur ddyrchafwyd i'r orsedd,
Daeth rhyfedd anrhydedd i'n rhan!
Ffordd rydd sydd rhwng daear a nefoedd,
Dyrchefir rhyw luoedd i'r làn.

**124.** *Iesu oll yn oll. . . M. N.* 9, 8.

O IESU! rho im' dy adnabod
Yn Gyfaill, yn Briod, a Brawd,
Yn Feddyg yn wyneb fy nychdod,
Yn Gyfoeth i'r truan a'r tlawd,
Yn Dywysog mewn rhyfel a chyni,
O'th flaen nid oes elyn a sai',
Yn Harddwisg i guddio fy noethni,
Yn Ffynon i olchi fy mai.

2 Yn Fanna i'm henaid ymborthi,
Yn Ddw'r im' diodi ar y daith,
Yn Golofn er nawdd â goleuni,
I deithio trwy'r anial sy' faith,
Yn Fugail, yn Frenin, a Llywydd,
Yn Brophwyd, Offeiriad, a Chraig,
Yn oll ac yn oll yn dragywydd,
Rhag gallu fy llygredd â'r ddraig.

**125.** *Trugaredd Duw. . . M. N.* 9, 8.

GWNAETH Duw fwy trugaredd na gwared
Fy nghorph rhag ei fyned i fedd,
Gallasai fy ngadael i g'ledu,
Nid oeddwn yn haeddu ei hedd;
Mi glywaf ei fwyn-lais yn galw
Hyd heddyw—"Bechadur, tyr'd di;"
Atebaf i alwad fel hwnw,
Pechadur wrth f' enw wyf fi.

2 O Iesu cei feddiant o'm calon,
Dysg i mi yn foddlon i fyw,
Y gofid a'r gofal yn gryno
A roddaf i ddwylo fy Nuw:
Gwnaed ef a fo da yn ei olwg,
O'i flaen yr wy'n amlwg a noeth,
Da gwyr beth i wneud i blant dynion,
Mae'n gyfion, a thirion, a doeth.

**126.** *Buddugoliaeth Calfaria. . .M. N.* 9, 8.

O AGOR fy llygaid i weled,
Dirgelwch dy arfaeth a'th air,
Mae'n well i mi gyfraith dy enau,
Na miloedd o arian ac aur;
Y ddaear â'n dân a'i thrysorau,
Ond geiriau fy Nuw fydd yr un;
Y bywyd tragwyddol yw 'nabod,
Fy Mhrynwr sy'n Dduw ac yn ddyn.

2 Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod,
Yw'r ffordd a gymerodd Efe,
I gadw pechadur colledig,
Trwy farw ei hun yn ei le!
Fe safodd fy Mrenin ei hunan,
Gorchfygodd awdurdod y ddraig,
Ein Samson galluog ni ydyw:
O caned preswylwyr y graig.

3 Daeth blwyddyn y caethion i ganu,
Doed meibion y gaethglud yn nghyd,
Ni seiniwn trwy'r nefoedd a'r ddaear,
Ogoniant i Brynwr y byd:
Mae Brenin y nef yn y fyddin,
Gwae Satan a'i filwyr yn awr,
Trugaredd a hedd sy'n teyrnasu,
Gogoniant trwy'r nefoedd a'r llawr!

4 Y Llew o lwyth Juda, gorchfygodd,
Pa elyn all sefyll o'i flaen?
Mae Sïon yn teithio tuag adre',
Mewn cerbyd dychrynllyd o dân;
Bydd miloedd o saint ac angylion,
Yn dorf ogoneddus yn nghyd,
Yn canu rhyw anthem dragwyddol,
O ogoniant i Brynwr y byd.

**127.** *Crist yw diwedd y ddeddf...M. N.* 9, 8.

YN Sïon mae cyfraith ragorol,
Gan Dduw yno'n rheol fe'i rhoed;
Un weddus, ddaionus i ddynion,
Ni bu deddf mor union erioed:
Dim mwy, na dim llai na chyfiawnder,
Ni ofyn, ni chymer ychwaith;
Heb fod gyda'r Iesu mewn undeb,
Ni dderbyn ein gwyneb na'n gwaith.

2 Pe byddai fy ngolwg yn berffaith,
Mi welwn y gyfraith bob gair,
Mor eglur y gallwn bob mynyd,
Ei darllen yn mywyd Mab Mair:
Ac hefyd wrth ddarllen y gyfraith,
Mi welwn Dduw perffaith heb ball;
Os Iesu neu'r gyfraith a welwn,
Y naill a ddarllenwn drwy'r llall.

3 Gwel'd cleddyf cyfiawnder yn deffro,
Oedd ryfedd i daro Mab Duw,
Gwneud T'wysog y nef yn anafus,
Er mwyn i rai beius gael byw:
Dysglaerdeb gogoniant ac union
Wir lun Person tirion y Tad,
Yn ngafael deddf fanwl ofynion,
I ni dd'od yn rhyddion yn rhad.

**128.** *Buddugoliaethau yr efengyl. . M. N.* 9, 8.

DAW miloedd ar ddarfod am danynt,
O hen wlad Assyria cyn hir,
Preswylwyr yr Aifft ac Ethiopia,
At Grist y Gwaredwr yn wir:
Cyflawnir y prophwydoliaethau,
Daw'r holl addewidion i ben;
Fe dynir myrddiynau at Iesu,
Dderchafwyd rhwng daear a nen.

2 Yr holl freniniaethau a dreulir,
A'r ddelw falurir i lawr;
Y Gareg a leinw'r holl wledydd,
Ei chynydd fel mynydd fydd mawr;
Ceir gweled cenedloedd y ddaear,
Yn dyfod o bedwar cwr byd;
Ymofyn y ffordd tua Sïon,
Y bydd ei drigolion i gyd.

**129.** *Cestyll yn syrthio. . . M. N.* 9, 8.

MAE Tywysog tangnefedd am ledu
Terfynau llywodraeth ei ras;
Mae'n gwisgo ei gleddyf dau-finiog,
Mae'n galw ei filwyr i'r maes;
Galluoedd y fagddu sy'n crynu,
Mae miloedd yn plygu i'r ffydd,
Mae'r diafol yn colli ei ddeiliaid,
Caffaeliaid sy'n dyfod yn rhydd.

2 Mae arfau'r efengyl yn llwyddo,
Mae'r cestyll yn syrthio i'r llawr,
Tywyllwch y nos sydd yn cilio
Myn'd rhagddi yn gyflym mae'r wawr;
Ar bur weinidogaeth y cymod
Drwy ddwyfol awdurdod mae llwydd,
Mae'r bobloedd yn taflu'u heilunod
I'r wâdd a'r ystlumod yn rhwydd.

**130.** *Buddugoliaethau'r efengyl...* *M. N.* 9, 8.

Y GAREG a dorwyd o'r mynydd,
  Ar fyrder a leinw'r holl fyd,
Ymdreiglo y mae trwy deyrnasoedd,
  A lleinw'r ardaloedd i gyd;
Hi ddryllia holl dduwiau'r paganiaid,
  O'r diwedd hwy syrthiant i'r llawr;
Helaethu wna teyrnas y Gareg,
  Ei chynydd, yn ddiau, fydd mawr.

**131.** *Dysgwyliadau y Cristion...* *M. N.* 9, 8.

O FRYNIAU Caersalem ceir gweled,
  Holl daith yr anialwch i gyd;
Pryd hyny daw troion yr yrfa,
  Yn felus i lanw ein bryd:
Cawn edrych ar stormydd ac ofnau,
  Ac angeu dychrynllyd a'r bedd,
A ninau'n ddiangol o'u cyrhaedd,
  Yn nofio mewn cariad a hedd.

2 Cawn esgyn o'r dyrys anialwch,
  I'r beraidd Baradwys i fyw;
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys,
  Yn dawel ar fynwes ein Duw:
Diangfa dragwyddol geir yno,
  Ar bechod, cystuddiau a phoen,
A gwledda i oesoedd diderfyn,
  Ar gariad annhraethol yr Oen.

3 Mae ffrydiau gorfoledd yn tarddu,
  O ddysglaer orseddfainc y ne';
Ac yno esgynodd yr Iesu,
  Ac yno yr eiriol efe;
Y gwaed a foddlonodd gyfiawnder,
  Daenellwyd ar orsedd ein Duw,
Sydd yno yn beraidd yn erfyn,
  I ni y troseddwyr gael byw.

**132.** *Cwyn yr afradlon. . . M. N.* 9, 8.

FY nyddiau'n afradlon a dreuliais,
Rhyfygais a phechais yn ffol,
Er hyny ymdrechaf am gychwyn
O wlad y du newyn yn ol:
Mae llawer o weision dan gyflog,
Yn anedd odidog fy Nhad,
Digonedd a gweddill sydd ganddynt,
A minau'n wael adyn o'r wlad.

2 Mi godaf, a'm gwisg yn rhwygedig,
Mae Nhad bendigedig yn hael;
Gofynaf dan addef fy mhechod,
A rydd efe gymod i'r gwael;
Er pechu i'w erbyn gan drymed,
Ymbiliaf am weled ei wedd;
Bod fel un o'i weision wy'n geisio,
Nid dysgwyl arlwyo 'run wledd.

**133.** *Dyfroedd gras. . . M N.* 9, 8.

O ARWAIN fy enaid i'r dyfroedd,
Y dyfroedd sy'n afon mor bur,
Y dyfroedd a dorant fy syched,
Er trymed fy nolur a'm cur;
Y dyfroedd tragwyddol eu tarddiad,
Y dyfroedd sy' heb waelod na thrai,
Y dyfroedd a olchant fy enaid,
Er dued, er amled fy mai.

2 Da iawn i bechadur fod afon,
A ylch yr aflanaf yn wỳn;
Hi darddodd o'r nefoedd yn gyson,
Hi ffrydiodd ar Galfari fryn;
Hi lifodd yr anial cenedlig,
Hi olchodd fil miloedd yn lân,
Hi ylch ei miliynau'n llwyr gànaid,
Cyn rhoddi llawr daear ar dân.

**134.** *Ni'th annghofiof di. . . M. N.* 9, 8.

GALL gwragedd annghofio'u plant sugno,
  Ond d'ollwng di'n ango' nis gwnaf;
Ni raid it', ferch Sïon, byth gwyno,
  Cei bwyso ar fynwes dy Naf;
Ar gledr fy llaw y'th argreffais,
  Yn rhwydd mi a'th gerais yn rhad;
A cher fy mron beunydd mae'th furiau,
  Clyw, Sïon, fwyn eiriau dy Dad.

**135.** *Yr Ysgol Sabbothol. . . M. N.* 9, 8.

Y COF am effeithiau bendithiol
  Yr Ysgol Sabbothol saif byth,
Rhoir mawl am ei ffrwythau yn nhangnef
  Y Nef, hynod lef, nid yw lŷth;
I anog a meithrin gwybodaeth,
  Hon ydyw'r wir famaeth wâr fwyn—
Cellweirus erlidwyr direol,
  Yn foesol, iawn ddoniol, wna ddwyn.

2 Palmanta y ffordd i'r mil blwyddau,
  Trwy holl dywyll barthau y byd,
Gan dd'od a halogwyr Sabbothau
  At Feiblau, iawn freintiau, un fryd;
Yn rhad caiff tylodion fabanod,
  Adnabod a gwybod y gwir;
A cheidw Iaith Gomer yn lanwaith,
  Gan darfu tywyllwaith o'r tir.

**136.** *O angeu pa le mae dy golyn. . . M. N.* 9, 8.

O ANGEU! pa le mae dy golyn?
  O uffern! ti gollaist y dydd;
Y Baban a anwyd y' Meth'lem,
  Gorchfygodd bob gelyn y sydd;
Ni raid i blant Sïon ddim ofni,
  I deithio i fyny tua'u gwlad;
Mae'u ffordd hwy yn rhydd tuag yno
  A hono agorwyd â gwaed.

2 Immanuel buddugoliaethodd,
Y Gŵr yw a gariodd y dydd:
Am iddo oresgyn gelynion,
Fe ddaw carcharorion yn rhydd:
Er amled y gwelir peryglon,
Ein cadarn Iᴏʀ tirion yw'n Tad,
Er rhodio'r Iorddonen nac ofnwn,
Ond awn a meddiannwn y wlad.

Mi wn (meddai Job) fod fy Mhrynwr,
Fy anwyl Eiriolwr yn fyw,
Er i mi falurio a huno,
Ei weled gaf eto, gwir yw;
Fe'm cyfyd o'r beddrod i fyny,
I hyfryd deyrnasu mewn hedd,
Er gwaeled yr olwg sydd arnaf,
Caf dd'od yn ddianaf o'r bedd.

**137.** *Dy feirw fyddant byw. . M. N.* 9,8.

GORCHFYGODD, gorchfygodd yr Iesu,
Y fagddu, gan haeddu in' hedd!
Enillodd, wrth agor y dorau,
Holl gloiau a barau y bedd!
Aeth adref trwy'r drysau tragwyddol,
I eiriol yn nghanol y nef;
Daw eilwaith holl gyrph y duwiolion
I'r lân fel ei dirion gorph ef.

2 Y bedd (er mai anedd oer ini,
I'n rhoddi o gyni a gaed)
Sancteiddiwyd, aroglwyd i'r eglwys,
Lle cymhwys i orphwys a wnaed;
O'i wely y saint a gydgodant,
Pan rydd yr archangel ei lef,
Ac yna dan ganu esgynant
Yn dyrfa i noddfa y nef.

**138.** *Efe a archollwyd. . . M. N.* 8, 8, 7.

MEGYS defaid y crwydrasom,
Ar gyfeiliorn bawb yr aethom,
Troisom bawb i'w ffordd ei hun;
Daeth y Meichiai i'n gwaredu,
Daeth yr Oen i'r pren i'n prynu,
Daeth i dalu dyled dyn.

2 Dygwyd ef fel Oen i'r lladdfa,
Hoeliwyd ef ar ben Golgotha;
Am ein beiau ni bu'r boen:
Ac, er rhoddi'r cwpan iddo,
Ni bu yn edifar ganddo,
Ymostyngodd megys Oen.

3 Barn a charchar dyoddefodd,
Cosb ein melldith drom a ddygodd,
Ac ni thraethai neb ei oes;
Gair o'i du ni dd'wedai undyn:
Hoeliwch ef, medd pawb, fel gelyn,
Rhwng y lladron ar y groes.

4 Wele gariad yn dysgleirio,
Gras fel moroedd yn llifeirio,
Iesu'n dal yn ngwres y dydd;
Crist, fel Oen, yn myn'd i'r lladdfa,
Marw'r Cyfiawn ar Galfaria,
'R euog yn cael d'od yn rhydd.

**139.** *Doethineb Duw. . . M. S.*

I'R unig ddoeth a'r bywiol Dduw
  Rhoed dynol ryw ogoniant,
Anrhydedd fo i'w enw glân,
  Anfarwol gân a moliant.

2 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
  A gweled gwaith Jehofa,
Anfeidrol yw'r doethineb sydd
  Yn ganfyddedig yma.

3 Trwy'r tir a'r môr dysgleirio mae
Ei allu a'i ddoethineb;
Ond yn y cymod, gras, a'r Iawn,
Y mae mewn llawn dysgleirdeb.

**140.** *Ar berffeithrwydd Duw. . . M. S.*

CAN o anfarwol glod dilyth,
A berthyn byth i'm Harglwydd;
Fy nghalon cân, a'm tafod dod
Ar led ei odidawgrwydd.

2 Mawr ydyw'r Iôn, a'i wyrthiau glân
Sy'n gofyn cân ragorol;
Boed i gymanfa'r saint trwy'r byd
Bawb uno i gyd i'w ganmol.

3 Mawr yw trugaredd ein Duw ni,
Ei blant mae'n borthi'n ddiwyd;
Yn wastad cofio ei air a wna,
A gwneud yn dda'i addewid.

4 Ei Fab y Prynwr mawr a ddaeth,
Diogel gwnaeth ei amod;
Ei enw sydd yn sanctaidd iawn,
A'i ffyrdd yn gyfiawn hynod.

**141.** *Ffynon llawenydd. . . M. S.*

FFYNON fy holl lawenydd yw
Yr Arglwydd Dduw yn ddiau;
Gogoniant fy holl ddyddiau clir,
A chysur fy nosweithiau.

2 Mewn t'w'llwch os ymddengys E',
Mae 'ngwawr i'n dechreu tori;
Efe yw'm siriol Seren ddydd,
A'm Haul, os bydd yn codi.

3 Y nef o'm cylch dysgleirio bydd,
A llewyrch dedwydd goleu;
Pan dd'wedo Crist mai'm heiddo yw Ef,
A minau'n eiddo yntau.

**142.** *Duw oll yn oll... M. S.*

FY Nuw, fy nerth, a'm bywyd i,
Rho'is arnat ti fy ngoglyd;
Can's oll yn oll wyt im', O Dduw,
Nis gallaf fyw pe'm gedyd.

2 Cariadus wênau'th wyneb gwiw,
Mor hawddgar yw y rhei'ny!
Nefoedd yw gorphwys yn dy gôl,
'Does fan dedwyddol hebddi.

3 Ni rydd y nef na'r ddaear im',
'Rwy'n sicr ddim boddlonrwydd;
Na dafn o wir lawenydd heb
Dy bresenoldeb, Arglwydd.

4 Tydi yw'r môr o gariad rhwydd,
Lle mae boddlonrwydd dibaid;
Trogylch fy holl serchiadau wyt,
A chanolbwynt fy enaid.

**143.** *Ar Lywodraeth Duw... M. S.*

YR Arglwydd, Brenin nef a llawr,
Ei orsedd fawr gwnaeth uchod;
Mae'n llywodraethu'r byd uwchben,
A'r holl ddaearen isod.

2 Boed i'r llu dysglaer gyd â pharch,
Sy'n dysgwyl arch eu Llywydd;
A gwylio ei eglwysi glân,
Gydseinio cân o glodydd.

3 Tra fyddo ei holl ryfeddol waith,
Trwy'i deyrnas faith yn traethu
Gogoniant Duw, fy enaid cai
Am drugareddau ganu.

**144.** *Aberth y Groes. .. M. S.*

AM werth yr Aberth ar y groes
O oes i oes fe genir;
Pan ddarffo'r ddaear faith i gyd,
Am dano nid anghofir.

2 Oblegid hwn fe lawenhâ
Iuddewon a Chenedloedd,
Boed son am dano yn mhob man
Drwy'r ddaear gan y bobloedd.

**145.** *Gogoniant Iesu. .. M. S.*

LLEFARA, Arglwydd, air mewn pryd,
Dod ysbryd i dy garu,
Datguddia imi'r odfa hon
Ogoniant Person Iesu.

2 O garu gwag bleserau'r byd,
Sy'n para o hyd i ddenu;
Dwg bechaduriaid daear gron,
I garu'r Person Iesu.

3 Pe cawn y byd i gyd i'm rhan,
Pa drysor gwan yw hyny?
Rhaid myn'd yn noeth i'r farn ger bron,
O flaen y Person Iesu.

4 Pan byddo'r annuwiolion trist,
Rhag golwg Crist yn crynu;
Bydd teulu Duw âg uchel dôn,
Yn moli'r Person Iesu.

**146.** *Addoli'r Anweledig. . . M. S.*

CRIST ydyw'r dyrchafedig un
Heb wel'd y'm ni'n addoli,
Pan gaffom arno olwg lawn
Rhagorach cawn ei garu.

2 Y tirion draed bendigaid ynt
Fu'r hoelion gynt yn dori,
Ar orsedd ddysglaer sefyll maent,
A'r holl saint yn addoli.

3 Ei anwyl ben, ardderchog ddull—
Fu'r drain yn erchyll glwyfo;
O'r fath ogoniant heddyw sy'
O'i amgylch fry'n dysgleirio!

4 Wrth wel'd drwy ffydd yr olwg hon,
Mae yn ein calon hiraeth,
Am ado'r corph, a myn'd o'r byd,
Mewn cerbyd tanllyd ymaith.

**147.** *Gallu a Mawrhydi Duw. . . M. S.*

DEWCH seintiau gyd â pharch yn rhwyme,
O flaen yr Arglwydd plygwch;
Gwrandewch ei air a'i uchel arch,
Mewn ofn a pharch addolwch.

2 D' ogoniant mor ofnadwy yw,
Mor ddysglaer ydyw'th luoedd!
Pwy fel tydi fath nerth a fedd,
Neu'r fath wirionedd dd'wedodd.

3 A'th air rheoli'r gwynt ar frys,
A'r moroedd 'stormus obry!
Gwnai'r tonau cysglyd ruo'n faith,
Ac eilwaith i lonyddu.

4 Iawnder a barn yw'th orsedd wiw;
Mawr eto yw'th raslondeb;
Trugaredd a gwirionedd glân,
A'n gwa'odd o flaen dy wyneb.

**148.** *Rhybuddion y Bibl... M. S.*

MAE yn y gair rybuddion da
A lawenhâ yr union;
Y sawl a'u cadwo—uchel fraint
Gaiff gyda'r saint yn Sïon.

2 Yn niwedd taith yr anial dir,
A garo'r gwir gaiff goron;
Try llafur ffydd, wrth air y llw,
Yn elw i'r duwiolion.

3 Mae cysur ar y ddaear hon
Dan groesau gweision Iesu;
A byddant ar ei ddeheu law
Ryw ddydd a ddaw'n teyrnasu.

**149.** *Arferaf weddi... M. S.*

ER cael fy nrygu gan y byd,
A goddef llid a chyni,
Wrth orsedd Iòr ymostwng wnaf
Ac a arferaf weddi.

2 Yn nghanol adfyd, poen, a chri,
Fy Nêr wnaf fi addoli;
Ni ŷr ef neb o'i ddrws i bant
Ag a arferant weddi.

3 Cydunwn bawb âg uchel lef,
Ei enw ef i foli;
Mae Duw yn hoffi clywed llais,
A gwrando cais ein gweddi.

**150.** *Hyder y Cyfiawn... M. S.*

MI dreigla'm ffyrdd ar Dduw yn llon
Gan ddysgwyl wrtho'n wastad;
Ei law all fy hyfforddi'n dda;
Cyflawna fy neisyfiad.

2 Mor werthfawr yw ei gariad ef,
Mae'n noddfa gref i'r cyfion;
Gorphwysed byth fy enaid prudd
Dan ei adenydd tirion.

3 Cred ynddo ef, fy enaid gwan,
Mŷn allan dy gyfiawnder;
Mor oleu a'r haul ar haner dydd,
Fel hyny bydd d' eglurder.

**151.** *Gweddi am burdeb... M. S.*

BEDYDDIER fi â'r Ysbryd Glân,
Fel tân pwerus nerthol;
Caiff ysbryd barn a llosgfa fod
Ar bechod yn wastadol.

2 O! golch fi beunydd, golch fi'n lân,
Golch fi yn gyfan, Arglwydd;
Fy nwylaw, calon, pen, a'm traed,
Golch fi â'th waed yn ebrwydd.

**152.** *Duw yn Gyfaill... M. S.*

CLODFORWCH bawb ein Harglwydd Dduw,
Doed dynolryw i'w ganmol;
Ei hedd fel afon fawr, ddidrai,
Gaiff ddyfrhau ei bobl.

2 Ni feddaf ffrind, na mam na thad,
A'r cyfryw gariad i mi;
Mewn culni, gofid, poen, a gwae,
Yn wastad mae'n fy lloni.

3 O blaid fy enaid gwan fe fydd,
Ar chwerw ddydd marwolaeth;
Yn angeu dan ei gysgod Ef,
Câf weiddi iechydwriaeth.

4 Pan ballo ffafr pawb a'u hedd,
Duw o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrind a fydd,
Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

5 Mi nesaf atat eto yn nês,
Pa lês im' ddigaloni;
Mae son am danat yn mhob man
Yn codi'r gwan i fyny.

## 153. *Ordinhadau Crefydd. .. M. S.*

FY enaid, pa mor hawddgar yw
Y lle mae'th Dduw'n bresenol;
Nefoedd yw gwel'd ei wyneb cu,
Er yn ei dŷ daearol.

2 Dymunwn wel'd achubol nerth
Ein Brenin prydferth nefol;
Ac aros lle mae'n eglurhau,
Ei ryfedd wyrthiau grasol.

3 Gwell genyf fod ar drothwy'r tŷ,
A'r Iesu yno'n gwarchod,
Na llanw'r orsedd wycha'i dull,
Neu fyw yn mhebyll pechod.

4 Pe bawn yn meddu'r tir a'r môr,
Yn nghyd â'u trysor helaeth;
Am awr ar dy ddeheulaw di,
Mi daflwn hyny ymaith.

**154.** *Diwedd galar. . . M. S.*

OS yw 'ngofidiau yn y byd,
I bara hyd y diwedd;
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

2 Po fwyaf gawn o wres y dydd,
Mwy yno fydd ein moliant;
Cawn yn lle'n cystudd byr, a'n crwys,
Dragwyddol bwys gogoniant.

3 Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron,
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant,
Yn win i blant Jehofa.

4 Po fwyaf fo'u cyfyngder hwy,
Bydd fwy fwy eu cysuron;
Eu hedd melusach na'r dil mêl,
A lifa fel yr afon.

**155.** *Etifeddiaeth dda. . . M. S.*

FY etifeddiaeth werthfawr yw,
Gwir eiriau'r Duw tragwyddol;
Melusach yw eu nefol rin
Na'r melus win i'w bobl.

2 Troir eu wylofain trist yn gân,
Ar lwybr glân ei ddeddfau;
Mor werthfawr yw eu bywiol rin,
Mewn cystudd blin a chroesau!

**156.** *Gwahoddiad Crist. . . M. S.*

DEWCH ataf bawb, medd Iesu gwiw,
Mae'n cynyg heddyw'n derbyn;
Achubydd yw, ei freichiau sydd
Trwy'r dydd yn cael eu hestyn.

2 Teyrnwialen hedd sydd yn ei law,
Pwy bynag ddaw mae'n dderbyn;
Sirioldeb nefol sy'n ei wedd,
Heb arf na chledd er dychryn.

3 Rhown glust yn awr i'w beraidd lais,
Gan fod i'w gais yn ufudd;
A chawn ddigrifwch ger ef fron
Yn ngwlad y llon lawenydd.

**157.** *Effaith Marwolaeth Crist.* .. *M. S.*

MOLAF dy ryfedd ras, O Dduw!
I'm Ceidwad gwiw rhof glodydd;
Dug iachawdwriaeth i'r tylawd,
Dyoddefodd wawd a gw'radwydd.

2 Trwy'i farwol friw fe'n cyfyd fry,
A'i gariad cryf, awyddus,
Cadwodd y ddeddf dorasom ni,
Boddlonodd hi yn ddilys.

3 Ei eiddo credu hyn a wnant,
Gorphwysfa gânt yn ebrwydd;
Trwy angeu Crist nesânt at Dduw
A byddant byw'n dragywydd.

4 Y nefoedd fry, a'r llu uwchben,
Rho'wch iddo lawen foliant;
Y ddaear faith a'r môr yn nghyd,
Rhowch iddo gyd-ogoniant.

5 Ti bïa Sïon, Arglwydd da,
A'i phyrth bendithia'r Iesu,
Gras a gogoniant rhyfedd rad,
Gaiff Israel had foliannu.

**158.** *Mawl i'r Oen a laddwyd... M. S.*

WELE 'r gogoniant mawr a fedd
Yr Oen, ar orsedd nefoedd;
Par'towch i'w enw newydd gân,
Na chadd o'r blaen ei hadrodd.

2 Boed i'r henuriaid blygu o'i flaen,
A'r eglwys lân addoli;
A phiolau llawn o aroglau pêr,
A th'lynau'n mwyn bêr foli.

3 Tragwyddol Dad, pwy gaiff heb gêl,
Edrych i'r ddirgel 'wyllys?
Y Mab a gymer y llyfr cau
I ddatgloi'r seliau dyrus.

4 Dy arfaeth fawr fe a'i cwblhâ,
Y Mab yn dda a'i haeddai;
Wele'n ei law allweddau'r nef,
Ac uffern gref ac angeu.

5 I'r Oen a laddwyd gynt y bo
Byth deyrnged o fendithion;
Gogoniant, parch, a mawl, Amen,
Fo ar dy ben fel coron.

**159.** *Coroni y Prynwr... M. S.*

I DDUW ein Prynwr, goruwch neb,
Nerth a doethineb berthyn,
Coronau o ogoniant byth,
A mawl dilyth, diderfyn.

2 Cyflwyna ef ein henaid ni,
Yn berffaith ddifrycheulyd,
Ger bron ei Dad, yn llon ein gwedd,
Gyd a gorfoledd hyfryd.

3 Ac yna'r hâd dewisol fry
Gânt gwrdd oddeutu'r orsedd
I foli gras, ac i fawrhau
Ei dirion wyrthiau rhyfedd.

**160.** *Eiriolaeth Crist. .. M. S.*

COFFAWN yn llawen gyda pharch,
Am ras ein Harchoffeiriad;
Un yw o galon dyner iawn,
A mynwes lawn o gariad.

2 Cyd deimlo mae â'n natur wan,
Fe wyr mor egwan ydyw;
Gwyr beth yw profedigaeth gref,
Can's teimlodd ef y cyfryw.

3 Ond diddrwg a difai o hyd,
Ein Prynwr hyfryd safodd;
Er dyoddef tanllyd saethau'r fall,
Hyd waed heb ball gwrth'nebodd.

4 Yn nyddiau ei egwan gnawd bu ef
Yn tywallt llef a dagrau;
Fe gydymdeimla eto pan
Fo aelod gwan mewn poenau.

5 Am hyny yn ei nerth a'i nawdd,
Rho'wn ninau'n hawdd ein hyder;
Cawn waredigaeth ganddo 'fe,
Mewn oriau o gyfyngder.

**161.** *Enw Iesu. . . M. S.*

MAE enw'r Oen i bawb o'r saint,
Fel enaint tywalltedig;
Mae yn adfywiol iawn ei rin
I'r enaid blin lluddedig.

2 Pan fyddo f' enaid yn y llwch,
Dan d'w'llwch fel y fagddu,
Mae dawn a nerth i'm dwyn yn ol,
Yn enw grasol Iesu.

3 Gobeithiwch ynddo bawb o'i saint,
Er cymaint yw eich gofid,
Gan wybod fod eich Priod gwiw
Yn ffyddlawn i'w addewid.

**162.** *Gwleddoedd Sion. . M. S.*

MAE 'r wledd yn barod, O bwytewch,
A llawenhewch yn Sïon,
Daeth bythol hedd i blant y llwch,
Dewch, yfwch o'i melysion.

2 Bwytawn, mae'r aberth wedi'i ladd,
Y ddeddf a ga'dd anrhydedd;
Ac i bechadur euog gwael
Mae modd i gael ymgeledd.

3 Cawn wisg, a modrwy ar ein llaw,
Ac er pob braw cawn wledda;
A nerth i deithio dan y groes,
Wrth gofio loes Calfaria.

**163.** *Y Sabboth yn hyfryd. . . M. S.*

CHWYTHED yr awel deneu lem,
O fryn Caersalem newydd;
A rhoed fy ysbryd i mewn hwyl,
I gadw gwyl i'r Arglwydd.

2 O groesaw ddydd o orphwysdra a hedd!
Daeth Crist o'r bedd i fyny;
Fy nghalon sydd, am llygaid hyn,
O'i weled, yn llawenu.

3 Y Brenin mawr sydd yn nesâu,
I wledda'i seintiau heddyw;
Cawn eistedd yma a gwel'd ei bryd,
Ei foli o hyd a'i garu.

4 Un dydd yn wir melysach yw,
Lle byddo Duw yn dyfod,
Na mil o ddyddiau i'w mwynhau
Mewn gwael bleserau pechod.

## 164. *O flaen pregeth... M. S.*

TYR'D Ysbryd Glân i'n c'lonau ni,
A dod d'oleuni nefol:
Tydi wyt Ysbryd Crist, dy ddawn
Sydd fawr iawn a rhagorol.

2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau:
Dod eli'n llygaid fel i'th saint,
Ac enaint i'n hwynebau.

3 Tydi addewaist ddysgu, Iôn,
Dy weision i lefaru:
Fel yn mhob man y caffo'n rhwydd,
Yr Arglwydd ei foliannu.

## 165. *Iau ieuenctid... M. S.*

DA iawn i ŵr yw dwyn yr iau,
Ac ufuddhau yn foreu,
A chanlyn Crist gan godi'r groes
Yn ngrym ei oes a'i ddyddiau.

2 Gan fod y nos yn agosâu,
A'r oes mor frau a phrysur,
Paham y safwn yn ddigudd
Ar hyd y dydd yn segur.

3 Ffyrdd crefydd sydd yn hyfryd iawn,
A'i llwybrau'n llawn o heddwch,
A'n tywys wnant trwy'r anial dir,
I wlad y gwir ddedwyddwch.

**166.** *Gweddi plentyn. . . M. S.*

DYSG fi yn nechreu f' einioes frau,
I rodio llwybrau'r bywyd;
A chadw'th air, trwy fyw yn ol
Ei nefol gyfarwyddyd.

2 Fel ufudd blentyn, boed i mi
Byth wneud dy dŷ yn gartre';
Fel caffwyf brofiad melus iawn
O'i radlawn arlwyadau.

3 Na âd im' ffol ymlygru byth,
Trwy fyn'd i blith rhagrithwyr,
Na rhedeg chwaith o lwybrau'r ne',
I eiste'n lle'r gwatwarwyr.

4 Dy sanctaidd waith, a'th achos di
A fo i mi'n hyfrydwch;
A gwiw gymdeithas d'anwyl blant,
Fo'm mwyniant a'm dyddanwch.

**167.** *Meddwl boddlon. . . M. S.*

OS caf gysuron ar fy nhaith,
Fy melus waith fydd moli;
Fy noniau oll o galon rwydd
I'm Harglwydd gânt eu rhoddi.

2 Ond os caf gystudd drwy fy oes,
A dwyn fy nghroes mewn galar,
Heb ddim ond gofid ar bob cam,
Gwna fi yn amyneddgar.

3 Os, fel blodeuyn, gwywo wnaf,
  Yn nechreu hâf fy mywyd;
Cymhwysa f' enaid trwy dy ras
  I deyrnas bythol wynfyd.

4 Os hir fy nhaith, rho i'm' dy hedd,
  Nes myn'd i'r bedd i orphwys:
Ac yna seiniaf gyda'th blant,
  Dy foliant yn Mharadwys.

**168.** *Tywalltiad yr Ysbryd... M. S.*

AR fyr boed i bob anial fro,
  Flodeuo megys rhosyn;
Yn ol d' addewid i hyn fod,
  O Arglwydd dod orchymyn.

2 Y graig yn llyn, O Arglwydd da,
  A ffrwyth ar drigfa dreigiau;
Pâr di fod hyny cyn bo hir,
  A'r crasdir yn ffynonau.

3 Tywallt, O Dduw, ar fyr o bryd,
  Dy Ysbryd o'r uchelder,
Fel bo'r anialwch oll yn wir,
  Yn ddoldir mewn ffrwythlonder.

**169.** *Gwahoddiad yr efengyl... M. S.*

GWRANDAWED clustiau pob dyn byw,
  Llawened pob rhyw galon;
Mae udgorn yr efengyl fwyn,
  Yn galw'n addfwyn arnom.

2 Afonydd gras a chariad sydd,
  Fel môr diysbydd yma;
Llawn iachawdwriaeth i'r rhai blin,
  Fel llaeth a gwin ddylifa.

3 Duw mawr trysorau'th ras a geir
Fel bythol aur-fwyn gloddiau,
Fel ein trueni dyfnion y'nt,
Diderfyn fel ein beiau.

4 Pyrth hyfryd gras 'r efengyl sydd
Y nos a'r dydd yn agor;
Duw, i ddiwallu'n heisiau gwael,
Ni dde'wn i gael o'th drysor.

**170.** *Dechreu blwyddyn. . . M. S.*

O DDUW, fy Iôr! tra byddwyf ar
Y ddaear hon yn teithio,
Dysg i mi ymddwyn er dy glod,
A bod o hyd yn effro.

2 Tra byddwyf ar fy ngyrfa fèr,
Boed i mi arfer gweddi;
I ddyfal geisio Crist yn rhan,
O dyro anian i mi.

3 Na ad im' ddechreu'r flwyddyn hon
Yn foddlon heb dy 'nabod:
Cam-dreuliais lawer rhan o'm hoes,
O Arglwydd, moes dy gymod.

**171.** *Agoriad Addoldy. . . M. S.*

O CYFOD, Frenin gras, nesâ,
Tyr'd i'th orphwysfa addas,
Gwel, dysgwyl mae dy eglwys hon
Am gael dy lon gymdeithas.

2 O derbyn addunedau dwys
A mawl dy eglwys yma;
Bendithia'th dŷ â bwyd diball,
I'r tlawd gael diwall fara.

3 Mab Dafydd, Crist Eneiniog Iôn,
  Yn hon a fo'n rheoli;
Cyfiawnder, cariad, gwir, a nerth,
  I'w lŷs fo'n prydferth weini.

4 Hir ddalied yma fainc ei ras,
  Boed ar ei deyrnas gynydd,
A pharch i'w goron ef a ro'ir,
  A'i gâs a döir â ch'wilydd.

**172.** *Urddiad Gweinidog... M. S.*

O ARGLWYDD da yr eglwys deg,
  Ei Phen a'i Hateg ffyddlon,
Sancteiddia, dysg, a nertha di
  Dy egwan weinidogion.

2 O, gwisg yn awr dy weision dwys
  Yn gymhwys â'th gyfiawnder;
Pob dawn ysbrydol iddynt rho,
  A chryfder o'r uchelder.

3 Yn hael disgyned megys gwlith
  Dy nefol fendith arnynt;
A dyro hynod lwyddiant hir
  I'r gair a heuir ganddynt.

**173.** *Swper yr Arglwydd. . M. S.*

MI gofiaf eiriau'm Harglwydd hael
  Yr hwyr cyn cael ei hoelio;
I wledd ei swper minau ddof,
  I wneuthur cof am dano.

2 Cael bwyta'i gnawd,—O gariad rhad!
  Ac yfed gwaed yr Iesu!
Pa fodd y gall fy nghalon lai
  Na'i wir fawrhau a'i garu.

3 Gwledd ydyw hon, gyfoethog hael,
Heb ddiwedd i'w gael arni;
O pwy na ddeuai 'mlaen yn rhwydd
I wledd yr Arglwydd Iesu.

**174.** *Amser cynauaf. . . M. S.*

O ARGLWYDD Dduw! rho nerth i ni
Dy ganmol di'n wastadol,
Am dy ddaioni'r flwyddyn hon
I ddynion anhaeddiannol.

2 Ti a'n bygythiaist lawer gwaith,
Trwy dywydd llaith a sychder;
Ac er na fu dy law yn drom,
I raddau gwelsom flinder.

3 Ond wele lawnder yn ein gwlad
Yn awr o'th rad fendithion;
A ni mewn heddwch yn mwynhau
Dy drugareddau mawrion.

**175.** *Edau frau bywyd. . . M. S.*

DUW da, ar ba fath edau frau,
Mae bythol bethau'n hongian!
Tragwyddol stâd pob marwol ddyn,
Ar linyn bywyd egwan.

2 Gwynfyd neu fythol wae yw rhan
Pob enaid pan êl ymaith;
Ac eto, O mor ddiofal 'rym,
Er bod ar fin marwolaeth!

3 Ein tymher gysglyd, 'nawr deffro,
I rodio'r ffordd beryglus;
A phan ymedy'n henaid byw,
Caed gyda Duw byth orphwys.

**176.** *Heddyw ac yfory. . . M. S.*

ER geni heddyw ddyn i'r byd,
Mewn bywyd i anadlu,
Rhaid myn'd i'r bedd o'r man y b'o,
At feirwon eto fory.

2 Mae dyn fel gwiw lysieuyn gwan,
Mor fuan mae'n diflanu!
Blodeua heddyw'n deg ei wedd,
Ond yn y bedd yfory.

3 Ymdrechwn heddyw 'mhlaid y ffydd,
Mae'n dydd yn min diweddu;
Rhy hwyr, ond odid ar y daith,
Fydd dechreu'r gwaith y fory.

**177.** *Marwolaeth cyfoedion. . . M.S .*

MAE rhai ieuangach na myfi
Yn tewi yn y tywod;
Rhai oeddynt deg, sy'n awr
Yn pydru'n llawr y beddrod.

2 Yr angeu glâs i'r tŷ o glai
A fedodd rai cyfoedion:
Rhyfeddod mawr fy mod i'n fyw,
Mawrygaf Dduw o'm calon.

**178.** *Gorfoledd ar angeu. . . M. S.*

AI marw raid i mi'n ddilai,
A'r tŷ o glai ymddattod?
Raid i'r aelodau bywiog hyn,
Falurio yn y beddrod?

2 Ni chaiff y pridd a'r pryfaid tlawd
Ond malu'm cnawd a'i buro,
Nes del fy enaid llon ryw ddydd,
I'w wisgo o newydd eto.

3 Byw ydyw Duw, fy Mhrynwr mawr,
Fe edrych lawr o'r wybren:
A gwylia'm llwch nes gyro'r llef,
I'w godi ef drachefen.

**179.** *Mewn angladd. . . M. S.*

ER rhoi y corph yn ngwaelod bedd,
I orwedd a malurio;
Daw boreu hyfryd yn y man
Y cwyd i'r lan oddiyno.

2 Cawn gydgyfarfod fry mewn hedd,
Tu draw i'r bedd yn dawel;
Ac uno i ganu yn ddilyth,
Heb achos byth ymadael.

3 Mewn teulu duwiol yn y byd,
Tra hyfryd y gyfeillach;
Ond fry, yn mhlith y nefol hil,
Y bydd yn fil melusach.

**180.** *Marwolaeth Gweinidog. . . M. S.*

ER tewi yn y beddrod du
Yr athraw cu llafurus,
Y Bugail mawr, anfarwol, mwyn,
A wylia'i ŵyn yn ddilys.

2 Yr ydym bawb ar fin y bedd,
Ar fyr cawn orwedd yno:
O, am gael huno ynot ti,
Yn beraidd wedi'n puro.

**181.** *Ar farwolaeth plentyn . . M. S.*

DAETH yma i'r byd i wel'd ein gwae,
Lle mae gorthrymder garw;
Ond trodd ei egwein lygaid draw,
Gan godi'i law, a marw.

2 Ni rydd un gelyn iddo glwy',
Nis gellir mwy ei faglu;
Ni welir ef yn dewis rhan
Gyda'r annuwiol deulu.

3 Ni chaiff y tad na'r fam byth mwy
Boen, trwy ei wel'd yn pechu;
Nac ofni iddo yn ei oes,
Ddwyn croes ar achos Iesu.

4 Fe darddodd ffynon ar y bryn
I'w gànu'n wyn a chymhwys
I lanw lle yn mhlith y llu
Sy'n canu yn Mharadwys.

**182.** *Sabboth nefol. . . M. S.*

ER bod yn hir mewn anial fan,
Yn 'mofyn am orphwysfa;
O'r diwedd daethum, rhyfedd fraint!
I'r man mae'r saint yn gwledda.

2 Caf fwyta ffrwythau prenau plan,
Ar hyd glàn afon bywyd;
Tragwyddol Sabboth gyda'r Oen,
Heb friw, na phoen, na gofid.

3 Ymborthi caf, mewn gwlad sy'n ol,
Ar ffrwythau nefol hyfryd;
Ac yfed byth heb boen na chur,
O afon bur y bywyd.

4 Y wisg a'r goron gaf i'm rhan,
Sy'n nghadw gan yr Iesu;
Ac hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Heb boen na braw i'm drygu.

**183.** *Y Ganiad newydd. . . M. S.*

MAE 'r gwaed a redodd ar y groes,
O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn
I ddweyd yn iawn am dano.

2 Prif destun holl ganiadau'r nef
Yw "Iddo Ef" a'i haeddiant;
A dyna sain telynau glân
Ar uchaf gân gogoniant.

3 Mae hynod rinwedd gwaed yr Oen
A'i boen wrth achub enaid,
Yn seinio'n uwch ar dànau'r nef
Na hyfryd lef seraphiaid.

4 'Mhen oesoedd rif y tywod mân,
Ni bydd y gân ond dechreu;
Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud,
A ddaw o hyd i'r goleu.

5 Ni thraethir maint anfeidrol werth
Ei aberth yn dragywydd,
Er treulio myrdd o oesoedd glân
Ni bydd y gân ond newydd.

**184.** *Mawredd Duw. . . M. N.* 8, 7.

PWY all olrhain i fanylrwydd
Ffyrdd yr Arglwydd, pwy a'u gŵyr?
Mawredd synwyr sant ac angel,
Er mor uchel, fetha'n llwyr;
Anchwiliadwy ei ddoethineb,
Môr diwaelod mawredd Duw,
Ein Creawdydd a'n Cynalydd,
Ynddo beunydd 'rym yn byw.

2 Mawr yw ef a'i ryfeddodau,
Mawr yn yr elfenau fry,
Mawr ei nerth a'i uchel wyrthiau,
Mawr daranau'i lais a dry,
Mawr ei wibiog fellt hedegog,
Mawr odidog Dad y gwlaw;
Ymostyngwn i'w lywodraeth,
Iechydwriaeth gawn o'i law.

**185.** *Mawredd Duw...M. N.* 8, 7.

BOD anfeidrol yw'r JEHOFA,
A'i breswylfa yn nef y nef,
Rhy oruchel, IOR gogoned,
I ni ei amgyffred ef;
Tragywyddol, Hollbresenol,
Hollwybodol—felly byth,
Tragwyddoldeb maith difesur,
Ganddo lenwir yn ddilyth.

2 O na allem gyd-dderchafu,
A mawrygu enw'r Iôn;
Ger ei fron yn ogoneddus,
Gyd â dwys lafurus dôn;
Canmol, caru, anrhydeddu,
Ei foliannu ac iddo fyw;
Boed ein henaid mewn hyfrydwch
Yn syllu ar hawddgarwch Duw.

**186.** *Tragwyddol gariad.. M. N.* 8, 7.

DRAW mi welaf ryfeddodau,
Dyfnion bethau Tri yn Un;
Cyn bod Eden ardd na chodwm,
Grasol fwriad Duw at ddyn:
Ethol Meichiai cyn bod dyled,
Trefnu Meddyg cyn bod clwy',
Caru gelyn heb un haeddiant—
Caiff y clod tragwyddol mwy.

2 O dragwyddol iachawdwriaeth,
Yn yr arfaeth gafodd le,
Fel y codai blant marwolaeth,
Fry i etifeddiaeth Ne';
Cariad boreu mor ddiddechreu,
Ag yw hanfod Tri yn Un,
Yn cofleidio meibion Adda
Yn yr Alpha mawr ei hun.

**187.** *Gair Duw... M. N. 8, 7.*

O MOR werthfawr yw'r gair perffaith
Sydd yn d'od o enau Duw!
Gwych a dirfawr iechydwriaeth,
Ynddo dardd: O hynod yw!
Nid all miloedd o aur melyn,
Na'r trysorau goreu sydd,
Foddio'r didwyll wir gredadyn,
Fel diffuant air y ffydd.

2 Mae fe'n para'n fara peraidd,
I ddigoni'r enaid gwan:
Gwin a llaeth yw'r gair i'r llariaidd;
Mae i'r rhai'n yn ddirfawr ran;
O mor felus yw i filoedd,
Tan flinderau trymion trist!
Dengys i ni gyrau'r nefoedd,
Dengys groeshoeliedig Grist.

3 O mor gyfiawn yw dy gyfraith,
A'th orch'mynion di ein Duw!
O mor hynod ac mor helaeth
Yw dy ras at ddynolryw!
Llwydda dy efengyl beraidd,
A dynoetha fraich dy ras;
O tywyned dy wirionedd,
Oll ar led y ddaear lâs.

**188.** *Genedigaeth Crist... M. N.* 8, 7.

WELE hen addewid Eden,
Heddyw wedi d'od i ben,
Gyda Mair yn mhreseb Beth'lem
Hoff etifedd nefoedd wen;
Dyma'r Alpha a'r Omega,
Brenin y breninoedd yw,
Wedi gwisgo'r natur ddynol,
Eto'n berffaith uchel Dduw.

2 Af i deithio gyda'r doethion
Hyd nes d'od i Feth'lem dref,
I gael gwel'd y rhyfeddodau
Mwya' erioed fu dan y nef;
Testun cân y gwaredigion—
Arglwydd holl arglwyddi'r llawr
Yno'n faban newydd eni,
Ac heb le i ro'i ben i lawr.

3 Mawr ryfeddod a mawr syndod,
Ydoedd gwel'd y bythol Air,
Mewn cadachau yn y preseb,
Wedi dyfod yn fab Mair;
Mwy rhyfeddod na hyn eto
Welaf yn ei gariad rhad,
Prynu bywyd pechaduriaid,
Golchi'r aflan yn ei waed.

**189.** *Teitlau Crist... M. N.* 8, 7.

DYMA Babell y cyfarfod,
Dyma Gymod yn y gwaed,
Dyma Noddfa i lofruddion,
Dyma i gleifion Feddyg rhad;
Dyma fan yn ymyl Duwdod,
I bechadur wneud ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd,
'N siriol wenu arno byth.

2 Dyma Frawd a anwyd i ni,
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlon ydyw, llawn tosturi,
Haeddai gael ei foli'n fwy;
Rhyddhawr caethion, Meddyg cleifion,
Ffordd i Sïon union yw;
Ffynon loyw, bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yw Duw.

**190.** *Llais Crist. . . M. N.* 8, 7.

O LLEFARA, addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwin,
Oll o mewn yn dwyn tangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rin;
Mae holl leisiau'r greadigaeth
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel,
Yn dystewi a myn'd yn fud.

2 Nis gall holl hyfrydwch natur,
A'i melusdra pena' maes,
Fyth gymharu â lleferydd
Hyfryd, pur, maddeuol ras;
Gâd im' glywed sŵn dy eiriau,
Awdurdodol eiriau'r nef,
Oddi mewn yn creu hyfrydwch
Nad oes mo'i gyffelyb ef.

**191.** *Dedwyddwch yn Nghrist. . . M. N.* 8, 7.

NID fy nef yw ar y ddaear,
Y goreu man dan gwmpas haul,
Nef yw tawel bresenoldeb
Siriol wyneb Adda'r ail,
Gwena arnaf, Arglwydd grasol,
Gwaeddaf allan, Digon yw;
Yna 'nghanol cyfyngderau
Byth yn llawen byddaf byw.

2 Môr sydd ynot o fendithion,
Heb waelodion iddo'n bod;
Y mae'n llanw 'mlaen bob mynyd,
Nid yes diwedd ar dy glod;
Dy enw beunydd sy'n ymdaenu,
Fel goleuni bore wawr;
Bydd telynau'n canu iddo
Fel rhifedi gwellt y llawr.

3 Yn dy glwyfau di mae bywyd,
Tyllau'r hoelion yw fy nyth:
'D ofnaf fyd, na chnawd, na phechod,
Nac euogrwydd, yno fyth;
Gwaed fy Mhriod wedi ei golli,
Archoll fawr y waywffon
Yw fy nghraig a'm dinas noddfa
Sicr ar y ddaear hon.

**192.** *Cariad Iesu. . . M. N.* 8, 7.

DYMA gariad, pwy a'i traetha?
Anchwiliadwy ydyw ef;
Dyma gariad byth nad ellir
Treiddio i'w ddyfnderoedd ef;
Dyma gariad gwyd fy enaid
Uwch holl bethau gwael y llawr,
Dyma gariad wna im' ganu
Yn y bythol wynfyd mawr.

2 Ymlochesaf yn ei glwyfau,
Ymgysgodaf dan ei groes,
Ymddigrifaf yn ei gariad,
Cariad mwy na hwn nid oes;
Cariad lletach yw na'r moroedd,
Uwch na'r nefoedd hefyd yw,
Ymddiriedaf yn dragwyddol
Ar anfeidrol gariad Duw.

**193.** *Moli'r Iesu. . . M. N.* 8, 7.

BRYSIO wnelo'r hyfryd foreu,
Tòri wnelo'r hyfryd wawr,
Pan y delo pob rhyw raddau
I glodfori Iesu mawr;
Codi'r groes a dilyn crefydd,
Tra b'om yn yr anial hyn;
'Nol myn'd adref ni gawn wledda
Gyda'r Oen fu ar y bryn.

2 Dyma Gyfaill, dyma Geidwad,
Dyma Brynwr llawn o hedd,
Dan yr hoelion fe orchfygodd
Uffern fawr a'i digllawn wedd;
Dyma Frawd, a Ffrynd, a Phriod,
Arno mentra' f' enaid gwan,
Yn ei law, er mor ddiffygiol,
Mi ddo'f adref yn y man.

**194.** *Sylwedd y Cysgodau. . . M. N.* 8. 7.

CILIO wnaeth y tew gysgodau,
Gwawriodd hyfryd oleu ddydd,
Nid oes eisiau gwaedlyd ebyrth,
Thuser aur, nac allor bridd:
Daeth y gogoneddus Sylwedd,
Daeth yr addawedig Had,
Cododd dysglaer Haul Cyfiawnder,
Sain y Durtur sydd drwy'r wlad.

2 Mwy ni cheisir urddau Aaron,
Olew pêr, na brasder ŵyn,
Gwisgo'r Urim ar ei ddwyfron,
Yn y nef mae'r Iesu mwyn:
Wrth yr allor aur mae'n gweini,
Clywir adsain clychau hedd;
Yn ei law mae'r aur deyrnwialen,
Wrth ei glun mae'r dwyfol gledd.

3 Cafwyd digon: ŵyn, gorphwyswch;
Lloi a theirw ciliwch draw;
Gorphwys Sïon, daeth dy Brynwr,
Do, â digon yn ei law:
Duw neillduodd Oen ei fynwes
I gymeryd arno'n bai;
Rhoddodd drosom Iawn oedd ddigon,
Ni thalasai Aberth llai.

4 Try y galar yn llawenydd
Pan y cofir am ei loes,
Ni ddaw niwed colyn angeu,
Lle taenellir gwaed y groes:
Dan ei gysgod mae tawelwch
A dyddanwch byth i'w gael,
Hedd ddylifa fel yr afon
Yno i bechadur gwael.

**195.** *Aberth Crist. . . M. N.* 8, 7.

WELE bur gyfiawnder dwyfol;
Tan ei farn troseddwyr fyrdd!
Wele allor, wele Aberth,
Ac Offeiriad mawr ei urdd,
Yn cyfryngu dros yr euog,
Ac yn talu perffaith Iawn:
Wele holl berffeithiau'r nefoedd
Ynddo'n cael boddlonrwydd llawn!

2 Clywch y Meichiai'n dweyd, Gorphenwyd,
Llwyr foddlonwyd, meddai'r Tad;
Clywch yr udgyrn mawr yn seinio
Gwaredigaeth a rhyddhad;
Clywch genadon yn cyhoeddi
Cymod rhad, heb gyfrif bai,
Efengylu cyfoeth Iesu,
A'i gyflawnder maith didrai.

**196.** *Crist y Meichniydd... M. N. 8, 7.*

EDRYCH wnaf i ben Calfaria,
I gael gwel'd fy Mhrynwr mwyn
Ar y groes yn marw'n foddlon,
Fel Oen gwirion yn ddi-gwyn;
Dwyn a wnaeth fy holl bechodau,
Yn ei gorph ar bren y groes;
Talu nyled oll i'r eithaf,
Pan yn dyoddef angeu loes.

2 Fe gyflawnodd Crist y gyfraith,
Llwyr ufudd-dod iddi rhoes;
Ca'dd cyfiawnder gyflawn daliad,
Trwy ei aberth ar y groes:
'Nawr cyfiawnder a thrugaredd,
Heddwch a gwirionedd sydd:
'N uno i ollwng pechaduriaid
O'u caethiwed mawr yn rhydd.

**197.** *Haeddiant Croes Crist... M. N. 8, 7.*

DEUED nef a deued daear
I ryfeddu angeu loes,
Hyd ac uchder, lled a dyfnder
Haeddiant Crist ar bren y groes;
Nid all cerub, nid all seraph,
Na holl ddoniau nef a llawr,
Draethu'r filfed ran o'i rinwedd
Byth yn nhragwyddoldeb mawr.

2 Dyma'm tawel amddiffynfa,
Dyma fy ngorphwysfa glyd,
Ni chwenychaf noddfa arall,
Pan bo'r tân yn llosgi'r byd:
Ar ardaloedd anfarwoldeb
Hyn a fydd fy nifyr waith,
Hoff dderchafu haeddiant Iesu
Yn y tragwyddolfyd maith.

**198.** *Rhyfeddodau'r Groes... M. N.* 8, 7.

DRAW ar gopa bryn Golgotha,
  Bu'r ymladdfa fwya' erioed;
Oen heb gleddau na grym arfau,
  'N sathru dreigiau dan ei droed;
Ef mewn syched mawr a lludded,
  Wrth orchfygu uffern lu,
Eto ffynon yn ei galon,
  I olchi'n wỳn yr Ethiop du.

2 O ddyfnderoedd rhyfeddodau,
  Wela' i draw ar bren y groes!
Deffro f' enaid a myfyria
  Arno'n ddyfal ddydd a nos;
Brenin cyfiawn yn dyoddef,
  Llu o fradwyr ddo'nt yn rhydd;
Dyled myrddiwn o fyrddiynau,
  Yno dalodd y Meichniydd.

3 O pwy feddwl all ddych'mygu,
  O pwy ddawn all ddodi ma's,
Filfed ran o'r pur hapusrwydd,
  Ddaw i etifeddion gras!
Buddugoliaeth ar elynion,
  Gwisgoedd hardd fel llian main,
Enillodd Iesu dan y poenau,
  Y gwawd, y llid, a'r goron ddrain.

**199.** *Sinai a Chalfaria... M. N.* 8, 7.

WELE Sinai a Chalfaria,
  Heddyw wedi d'od yn nghyd;
Sylwedd mawr yr holl gysgodau
  Yn wynebu Dwyfol lid;
Dacw'r cleddyf wedi deffro,
  Dacw'r ddeddf yn d'od yn mlaen,
Dacw aur y gwaredigion
  Wedi ei buro yn y tân.

2 Y mae Sinai heddyw'n ddystaw,
Swn taranau mwy nid oes,
Duw sy'n cynyg hedd a bywyd
I bawb gred yn angeu'r groes;
Gwaith cyfiawnder mwy fydd maddeu,
Cuddio beiau rif y gwlith:
Am y gwaed fe gân myrddiynau
Fawl a bâr yn newydd byth.

**200.** *Buddugoliaeth Crist. .. M. N.* 8, 7.

HOELIODD ddeddf yr ordinhadau
Oedd i'n herbyn wrth ei groes;
Gan ysbeilio'r awdurdodau
Pan yn goddef angeu loes;
Cododd faner wen trugaredd;
Drylliodd gedyrn byrth y bedd;
Seiniodd Jubil lawn i'r caethion,
Ac arlwyodd radlon wledd.

2 Agoriadau y llywodraeth
Wisgwyd ar ei ysgwydd ef;
Rhoddwyd iddo bob awdurdod
Ar y ddae'r ac yn y nef;
Marchog mae yn ngherbyd cariad;
Troi o'i gylch mae engyl nef:
Sigla cedyrn byrth y fagddu,
Hyd eu sail, wrth rym ei lef.

**201.** *Goruchafiaeth Crist. .. M. N.* 8, 7.

BRWYDR fawr fu ar Galfaria,
Dyma'r un ryfedda 'rioed,
Iesu'n fud heb air o'i enau
'N sathru dreigiau dan ei droed!
Lladd gelyniaeth, cadw'r gelyn,
Caethion fyrdd a ddaw yn rhydd;
Maeddu'r cadarn, marw ei hunan,
Codi'n fyw y trydydd dydd.

2 'Nillodd Iesu'r goncwest fwyaf,
Byth i'r ddaear yma ddaw,
Ar y pren ar ben y mynydd,
Er yn llonydd droed a llaw:
Gair gorphenwyd, a'i gorph yno
Wedi'i hoelio, Awdwr hedd;
Buddugoliaeth ga'dd ar angeu
Yn y boreu, daeth o'r bedd.

**202.** *Grym ei adgyfodiad Ef...M. N.* 8, 7.

MAE angylion yn ein cymhell,
Deuwch, meddant, dyma'r fan,
Fan bu'ch Arglwydd cu yn gorwedd,
Nid yw yma, daeth i'r làn;
Dyma'r napcyn a'r llieiniau
Fu am dano, gwelwch hwy,
Yma'n gryno gwnaeth eu gado,
Ni raid iddo wrthynt mwy.

2 Gyda Christ os cyfodasom
Ninau trwy ei ryfedd ras,
Rhodiwn mewn newydd-deb buchedd
Gydag ef o hyn i maes;
Daliwn afael yn ein rhyddid,
Dyfal lynwn yn y ffydd,
Nac awn mwy dan iau caethiwed,
Gan i ras ein gwneud yn rhydd.

**203.** *Pabell yn Ymguddfa...M. N.* 8, 7.

IESU ei hunan yw fy Mhabell,
A fy Noddfa gadarn gref;
Pabell lawn o ryfeddodau,
Gwleddoedd sanctaidd pur y nef;
Noddfa dawel i bechadur,
Euog, aflan, gwael ei lun,
Pabell hyfryd y Cyfarfod,
Lle mae Duw a minau'n un.

2 Hon yw 'Mhabell, mi ymguddia,
Ynddi y'mhoethder mawr y dydd;
Diddos Nodded gaf fi yma,
Er tymhestloedd sy' neu fydd,
Pabell oesol Ior gogoned,
Pabell lawn o ras a hedd,
Pabell hyfryd, lle caf weled,
Ymddyscleiriad grasol wedd.

3 Yn y Mab mae'r nef yn foddlon,
Hwn a ddaeth o'r nef i lawr;
Ac mae i'r pechadur ddigon,
Digon byth yn Iesu mawr;
Mae'n heddychu, 'n gogoneddu,
Gan sancteiddio'r adyn cas:
Rhyfedd ddyfais! rhyfedd allu!
Rhyfedd gariad! rhyfedd ras!

**204.** *Crist yn buddugoliaethu... M. N.* 8, 7

MARCHOG Iesu yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun;
Ni all daear dy wrthsefyll,
'Chwaith nag uffern fawr ei hun:
Mae dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae rhyw arswyd trwy'r greadigaeth
Pan y byddoch di gerllaw.

2 Dyro'r greadigaeth drwyddi,
I gydweini yn dy waith;
Nes goleuo tywyll gonglau
Holl derfynau daear faith;
Cael y meini o'r anialwch,
Tyrau llwch, dywyllwch du;
A chael allan ddrylliau arian,
A phraidd corlan Iesu cu.

3 Pâr ddychwelyd llwythau'r holl-fyd
I'r un ysbryd a'r un iaith ;
Ti gai'r enw, ti gai'r moliant,
A'r gogoniant am y gwaith :
Gan Iuddewon a Chenedloedd,
A llu Nefoedd oll yn un,
Yn cydseinio trwy'r uchelder,
A'r ehangder mawr ei hun.

**205.** *Adgyfodiad Crist... M. N.* 8, 7.

DEUWCH saint gollyngwch ddagrau
Uwch trychineb Calfari,
Dros yr hwn a ro'es och'neidiau
Dan y baich haeddasoch chwi,
Hidlodd drosoch ddafnau heilltion,
Dan arteithiau gwg y nen,
Nid o ddw'r, ond gwaed ei galon,
Yna trengodd ar y pren.

2 Ond caed achos llawenychu,
Testun cân dragwyddol fydd,
Dacw Iesu yn dadebru,
Gyda gwawr y trydydd dydd ;
Gwelwch fel mae'n conc'ro angeu,
Syllwch ar ei ddwyfol wedd,
Grym ei fraich a gair ei enau
Sydd yn dryllio bolltau'r bedd.

3 Bellach saint eich dagrau sychwch,
T'rewch y gu anfarwol gân,
Cyweiriwch eich telynau, cenwch
Wyrthiau eich Gwaredwr glân;
Bloeddiwch iddo fathru'r gelyn,
Ac ysbeilio uffern ddu,
A chloi angeu yn y gadwyn,
A chysegru'r bedd i chwi.

**206.** *Y Pechadur edifeiriol. . . M. N.* 8, 7.

GWAEL bechadur yw fy enw,
O ba rai y pena'n fyw:
Rhyfedd byth fe drefnwyd Pabell!
Caf yn dawel gwrdd â Duw:
Mae JEHOFA 'n awr yn foddlawn,
I'r troseddwr i gael gwledd;
Duw a dyn yn gwaeddi, "Digon!"
Yn yr Iesu, 'r Aberth hedd.

2 Mi anturiaf ato'n ëon,
Gwialen aur sydd yn ei law,
A'i hestyniad at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw:
Af yn mlaen dan waeddi, pechais,
Af, a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant, am fy ngolchi,
Am fy nghànu yn y gwaed.

**207.** *Galwad ar Bechaduriaid...M. N.* 8, 7.

BETH yw'r udgorn glywai'n seinio?
Brenin Seilo sydd yn gwa'dd;
Pwy sy'n cael eu galw ganddo?
Pechaduriaid o bob gradd;
Adre', adre', blant afradlon,
Gadewch gibau gweigion ffol,
Clywaf lais y Brenin heddyw,
Yn para i alw ar eich hol.

2 Beth yw'r llef ar fanau uchel?
Galwad sydd ar Israel dd'od;
Beth yw'r gwaeddi mawr a hynod?
Gwledd yn barod sydd yn bod:
Deuwch, deuwch, afradloniaid,
Ar yr alwad yn gytûn,
Mae'n rhaid cael y lluoedd adre',
Rhaid yn ddiau bob yr un.

8 Dyma'r Brawd a'r Cyfaill goreu,
I feibion Adda fedd y nef,
Mae E'n derbyn pechaduriaid,
Ymddiried f' enaid ynddo ef;
Gwaed yr Oen ar ben Calfaria,
A'm cadwodd i o'r fflamau tân,
Chwant sydd arnaf ganu moliant,
Fyth i'r fath Waredwr glân.

**208.** *Y Perygl o oedi. . . M. N.* 8, 7.

O NA ddeuai'r hen awelon,
Gyda rhyw awdurdod mawr,
I ddwys bigo ein calonau,
Fel derbyniom ef yn awr:
Fy nghyd-deithwyr, peidiwch oedi,
Mynwch heddyw le i ffoi,
Rhag mai dyma'r ergyd ola'
Mae efe ar fedr roi.

2 Pa'm y cysgwn mor ddiofal,
Yn y fath beryglus le?
Trwm fydd meddwl cwrdd â'r Barnwr
Heb gael heddwch gydag E';
Mae E'n para i uchel alw,
O na ddeuai pawb o'r byd
Oll i 'mofyn am y noddfa
Cyn eu dal â dwyfol lid.

**209.** *Ffowch i'r Noddfa... M. N.* 8, 7.

FFOWCH i'r noddfa, dewch heb oedi,
Dewch cyn delo'r diluw mawr,
Deuwch, brysiwch, am eich einioes
Cyn y delo'r tân i lawr;
Mae dialydd am eich dala,
Ac mae'r farn yn agosâu,
Trowch yn awr i'r amddiffynfa,
Cyn y caffo'r drws ei gau.

2 Os rhaid teithio'r anial garw
Trwy'r holl dd'rysni dyrus maith;
Rho dy gwm'ni, anwyl Iesu,
Nes im' gyrhaedd pen fy nhaith;
Rho'th oleuni Dwyfol imi,
I'm hyfforddi yn y blaen;
Os caf hyny, âf heb ofni,
Trwy ddyfnderoedd dw'r a thân.

**210.** *Gobaith i'r penaf. . . M. N.* 8, 7.

A OES gobaith am achubiaeth?
'Oes maddeuant am bob bai?
A oes hedd a meddyginiaeth?
A oes Ceidwad i'r fath rai?
Oes, medd Duw o'r nef yn eglur,
Mi ddarparais aberth llawn;
Y mae hedd, a gras a chysur,
Geny'n rhoddion parod iawn.

2 Yn efengyl iachawdwriaeth
Drws yn agor ini sydd,
Drws i'w drugareddau helaeth,
I ddylifo'n gwbl rydd;
Bellach awn, ac awn yn union,
At orseddfa nefol râd;
Credwn, profwn o fendithion
Gras, a gwledd y nefol wlad.

**211.** *Galwad ar y penaf. . . M. N.* 8, 7.

DEWCH, rai euog, am faddeuant,
Dewch at Iesu—dyma'r dydd;
Llawer wrth ei ddrws a gurant,
Pan yn nghauad byth y bydd;
Llithro'r ydych ar ddisgynfa
Tu ag ardal îs na'r bedd;
Trowch, O trowch i'r amddiffynfa,
Tra mae eto'n amser hedd.

2 Crist sy'n galw—clust ogwyddwch—
O gwrandewch!—mae yn eich gwa'dd:
Deuwch ato, ymresymwch,
Gwrendy arnoch heb eich lladd:
D'wedwch am eich dirfawr feiau,
Dywed yntau am ei waed;
Deuwch, llechwch, yn ei glwyfau,
Fel na'ch mathrer dan ei draed.

**212.** *Cyfiawnhau'r annuwiol... M. N.* 8, 7.

DUW sy'n cyfiawnhau'r annuwiol,
O'i ryfeddol ras ei hun;
Duw sy'n rhoddi ffydd i gredu
I'r pechadur gwael ei lun;
Anrhydeddodd Crist y gyfraith,
Gwnaeth gyfiawnder pur i ni,
Trwy ufudd-dod perffaith, digoll,
O fru Mair i Galfari.

2 Bywyd a marwolaeth Iesu,
Trwy gyfrifiad gan Dduw Dad,
Dyma ddigon rhag digofaint,
Dyma yw ein cyfiawnhad:
Dan gyfrifiad o'n pechodau
Bu Crist farw ar y pren:
Trwy gyfrifiad o'i gyfiawnder,
Caiff yr euog godi ei ben.

**213.** *Ar Sancteiddhad... M. N.* 8, 7.

ARGLWYDD, dyro im' brofiadau
O rinweddau sancteiddhad;
D' Ysbryd ynof fo'n gweithredu
Er goleuni a glanhad;
Cafwyd ffynon ar Galfaria
I'r afiana', i'w lanhau;
Golch fi ynddi, Iôr bendigaid,
Pura f' enaid o bob bai.

2 Ni chaiff neb heb wir sancteiddrwydd
Wel'd yr Arglwydd yn ei hedd;
Rhaid ein puro a'n cymhwyso
I'n dwyn ato ar ei wedd;
Tyr'd gan hyny, Ysbryd grasol,
Cymer fi o'th nefol rad,
I fy mharotoi yn weddaidd,
I dy baradwysaidd wlad.

**214.** *Capten ein Hiachawdwriaeth...M. N.* 8, 7.

CAPTEN mawr ein hiachawdwriaeth,
Welaf yn y frwydr hon;
Holl elynion ei ddyweddi,
'N gorfod plygu ger ei fron:
Plant afradlon sy'n d'od adre',
A fu 'mhell o dir eu gwlad;
Rhai fu'n fudion sy'n clodfori
Duw am iachawdwriaeth rad.

2 Wele Iesu'r Penrhyfeiwr
Yn d'od i'r lan o Edom wlad;
Ei wisg yn goch, ei fraich yn rymus,
A'r ddraig yn glwyfus dan ei draed:
Am yr hyfryd fuddugoliaeth,
Cana'm telyn fach yn awr,
Hyd nes delo'r hyfryd foreu,
Y caf ganu'r delyn fawr.

**215.** *Hawddgarwch Iesu.. M. N.* 8, 7.

IESU hawddgar, 'rwy'n dy ddewis,
Nerth i ddilyn ol dy droed;
Yna caiff fy enaid 'hedeg,
I'r hapusrwydd pena' 'rioed;
Ni raid ymladd â gelynion,
Ni raid teithio daear lawr;
Ond dysgleirio yn mysg myrddiynau
Gylch yr orsedd fel y wawr.

2 Yno derfydd i mi ofni
   Gwawd, a gwg, a chas y byd;
Pan y caffwyf gyflawn olwg
   Ar dy hawddgar wyneb pryd
Gwedd dy wyneb sy'n dwyn bywyd,
   Gwedd dy wyneb sy'n dwyn hedd,
Gwedd dy wyneb ydyw'r cwbl,
   Yma a thu draw i'r bedd.

**216.** *Annigonoldeb y creadur... M. N. 8, 7.*

CLYWAF lais gan bob rhyw raddau
   O'r creaduriaid mân i gyd,
Fy mod gwedi aros gormod,
   Hepian llawer yn y byd;
Gwisg dy arfau, medd pob tafod
   Glywaf tan yr awyr lâs,
Gormod hepian, mae'n ddiweddar
   Cyn it' ddechreu taro i maes.

2 Ffarwel bellach bob creadur:
   Chwi gewch weled hyn ryw bryd;
Meddaf drysor gwerthfawrocach
   Fil o weithiau nag yw'r byd:
Tu hwnt i'r bedd 'does mesur arno:
   Rhan o fewn fy nghalon mae;
Ffynon fawr ydyw ei wreiddyn,
   Byth ni welir arni drai.

3 Tyr'd i fyny o'r anialwch,
   Wedi aros yno'n hir;
Sypiau grawn-win mawrion addfed,
   Sy'n dy aros yn y tir:
Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
   Cymer galon, mentra 'mlaen;
Y ffordd nis colli, mae'n dy arwain,
   Gwmwl niwl a cholofn dân.

**217.** *Rhyfeddodau Gras... M. N.* 8, 7.

MAE rhyw fyrdd o ryfeddodau,
Yn yr iachawdwriaeth rad;
Hon yw'r afon fawr a lifodd,
O dan riniog tŷ fy Nhad;
Yn ei ffrydiau dwg fi adre'
Gyd â'r dyrfa hardd eu gwedd,
Minau ganaf am ei rhinwedd,
Byth yr ochr draw i'r bedd.

2 Bydd angylion yn rhyfeddu,
Draw i oesoedd rif y dail,
Gwel'd myrddiynau o bechaduriaid,
Yn dysgleirio fel yr haul;
Wedi d'od o wlad y cystudd,
Wedi gadael byd o boen;
Ac yn gwisgo'r gynau gwynion,
Wedi'u canu yn ngwaed yr Oen.

**218.** *Dysgwyliad am gysur... M. N.* 8. 7.

MI edrychaf ar i fyny,
Deued t'wyllwch, deued nos;
Os daw heddwch im' o un lle,
Daw o haeddiant gwaed y groes;
Dyma'r man y gwnaf fy nhrigfan,
Yma y gobeithiaf mwy,
Nid oes heddwch byth im' henaid,
Ond mewn dwyfol farwol glwy'.

2 Dyma'r man y byddaf farw,
A fy ngolwg tua'r nef;
Mi ddysgwyliaf hyd y wawrddydd,
Am ei bresenoldeb ef;
A phe cawn ond gwel'd y seren,
Sydd yn blaenu boreu'r wawr,
Wrth ei goleu awn yn wrol,
Trwy bob rhwystrau, fach a mawr.

**219.** *Archoffeiriad mawr... M. N.* 8, 7.

ARCH-OFFEIRIAD uwch na'r nefoedd,
Yw ein harch-offeiriad ni,
Er mor ddirmygedig ydoedd
Pan yn marw ar Galfari;
O ddyfnderoedd ei drallodion
Esgyn wnaeth i nef y nef;
Priod a Gwaredwr Sïon,
A'i chyflawnder, ydyw Ef.

**220.** *Deisyfiad am wirionedd.. M. N.* 8, 7.

O FY enaid chwilia'n fanwl,
Am drysorau can-mil gwell,
Nag a fedd y greadigaeth;
A'm canlyno i'r wlad bell:
Am wirionedd yn fy ngwaelod,
Ag a'm dalio i'r dydd a ddaw,
Fel y gallwy'n hy' wynebu
'R hwn sy' a'r clorian yn ei law.

2 Dyna'r dydd bydd sobr bwyso,
Ar gyflyrau a beiau'r byd;
Bernir yn y diwrnod hwnw,
Byw a meirw oll i gyd;
O am grefydd yn ei sylwedd,
Crefydd bery hyd y bedd,
Crefydd ag a'm deil yn angeu,
Uwch y tònau garw eu gwedd.

**221.** *Peraroglau Crist.. M. N.* 8, 7.

ADDURNA 'm henaid â dy ddelw,
Gwna fi'n ddychryn yn dy law,
I bob llygredd a chnawdolrwydd,
A phob gelyn yma a thraw:
O am gymdeithasu â'th enw—
Enaint tywalltedig yw—
Leinw'r byd o beraroglau
Hawddgar ddoniau Crist fy Nuw.

2 Rhwyga'r tew gymylau duon
Sydd yn cuddio'th wenau gwiw,
Nid oes dim all fy nyddanu
Ond yn unig ti fy Nuw:
Môr didrai o bob trugaredd,
Iechydwriaeth fawr ei dawn,
Lifodd allan o dy fynwes
Ar Galfaria un prydnawn.

**222.** *Duwioldeb yn elw. . . M. N.* 8, 7.

GWELL i mi na pherlau'r India
Gael duwioldeb yn ei grym;
Hon a'm cynal yn yr anial,
Tra bwy' i yn yr ochr hyn;
Hon a'm deil yn afon angeu,
Ac a'm nertha i fyn'd yn mlaen;
Hon a'm dysg, ar faesydd gwynfyd,
Byth i seinio'r beraidd gân.

2 Darfod mae trysorau'r ddaear,
'Hedeg ymaith maent o hyd,
Gwir dduwioldeb ydyw'r elw,
Dâl im' roddi arno mryd;
Anghydmarol a thragwyddol
Drysor drud addawyd im',
Ffarwel, ffarwel, berlau daear,
Yn ochr hwn ni thalant ddim.

**223.** *Cymdeithas a Christ. . . M. N.* 8, 7.

DYRO olwg ar dy haeddiant,
Golwg ar dy deyrnas rad;
Brynwyd i mi ac a seliwyd,
Seliwyd i mi â dy waed:
Rho i mi gyrchu tu ag ati,
Peidio byth a llwfrhau:
Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt,
Ond yn unig dy fwynhau.

Ac ni cheisiaf drysor arall,
  Ond tydi mewn anial fyd;
'Rwyt ti'n ddigon byth dy hunan;
  Dim ond ti a lanw mryd:
Nid oes gystudd fyth wna niwed,
  Pan bwy'n pwyso ar dy rym;
Hebot nid oes rwyd gan Satan,
  Na wna unrhyw fodd niwed im'.

3 Gyd â thi yr âf trwy'r fyddin,
  Gyd â thi yr âf trwy'r tân;
Ni ofnaf ymchwydd yr Iorddonen,
  Ond it' fyned o fy mlaen;
Ti yw f' amddiffynfa gadarn,
  Ti yw 'Mrenin a fy Nhad;
Ti dy hunan oll yn unig,
  Yw fy iachawdwriaeth rad.

**224.** *Craig sydd uwch na mi. . . M. N.* 8, 7.

AR dymhorau o ofidiau
  Tro'f fy wyneb at fy Nuw,
Pan bo nghalon bron ymollwng
  Dan helbulon o bob rhyw;
O eithafoedd pella'r ddaear,
  Llefaf, Arglwydd, arnat ti
Am dy gymhorth i fy nhyw.s
  I y Graig sydd uwch na miy

2 Pan yn ymchwydd yr Iorddonen,
  Yn swn gwyllt-ryferthwy'r lli',
Melus ganaf, er mor eiddil,
  Ar y Graig sydd uwch na mi!
Ac mi roddaf hèr, heb g'wilydd,
  I alluoedd uffern ddu,
Pan y fo fy nhraed yn ddiogel
  Ar y Graig sydd uwch na mi.

3 Pan âf adref at y teulu,
Teulu dedwydd Had y wraig,
Rhai fu'n yfed yn yr anial
Ddw'r i'w llòni, ddaeth o'r graig;
Yn mhlith miloedd dirifed,
Minau unaf gyda'r llu, i
I foliannu byth heb dewi,
Am y Graig sydd uwch na mi.

**225.** *Dadleuwr llwyddiannus. . . M. N.* 8, 7.

CYSUR cryf i'm henaid ydyw
Fod Eiriolwr gyda'r Tad;
Dros droseddwyr fry yn dadleu
Annherfynol werth ei waed
Grym eiriolaeth Iesu drosof,
Ddwg fy enaid eiddil gwan,
Fry uwch cyrhaedd fy ngelynion,
Yn ddiangol yn y man.

2 Dadleu mae, nid haeddiant dynol,
Ond ei haeddiant llawn ei hun,
Dros bechadur euog aflan,
Dros y gwaelaf wanaf un;
Arglwydd, dangos fod i'm henaid
Ran yn dy eiriolaeth gref;
Ac, er amled fy ngelynion,
Minau ddof i deyrnas nef.

**226.** *Pererin trallodus. . . M. N.* 8, 7.

CHWILIO bûm y greadigaeth
Eang trwyddi yn mhob man,
Ceisio gwrthrych i roi gobaith
Ac ymddiried f' enaid gwan,
Wedi troi dalenau Anian
Ol a gwrthol oll i gyd,
Ni chanfyddais, naddo'n unman,
Wrthddrych teilwng o fy mryd.

2 Chwilio 'mhlith y dorf angylaidd,
Gofyn, A oedd yno un,
Gydymdeimlai yn garuaidd
A phechadur gwael ei lun?
Nac oes yma, ebai Gabriel,
Nac oes un o honom ni,
Gydymdeimla âg adyn isel,
Brwnt, annheilwng, fel tydi.

3 Hawdd yw meddwl erbyn hyny,
I'm teimladau doddi 'nghyd,
Ac i'm calon wirion oeri,
Glynai'm tafod, aeth yn fud;
Collwn ddagrau nes dadwino'm
Llygaid gan ofidiau'r fron:
Tra bwy'n berchen enaid, cofio
Byddaf am yr enyd hon.

4 Dyfrllyd olwg dan fy ngwasgfa,
Dröais ar yr orsedd wen,
Gwelwn mewn cyfryngol wisgoedd,
Y Gwr ogwyddodd droswy'i ben;
Dacw fe, eb f' enaid gwirion,
Medraf ddarllen ar ei wedd,
Fod maddeuant yn ei galon
I bechadur brwnt—a hedd.

**227.** *Pererin cysurus. . M. N.* 8, 7.

YNA nesais at ei orsedd,
Ac ymdreiglais at ei draed,
A dadleuais am drugaredd,
Haeddiant ei rinweddol waed:
Meddwn, Mi dywallta'm calon,
Mi agora'm hysbryd briw,
A datguddiaf fy archollion,
Pa'm yr ofnaf,—Iesu yw.

2 Ac wrth i mi agor iddo
Fynwes aflan ffiaidd iawn,
Yntau'n agor i'm cofleidio,
Fynwes oedd o ras yn llawn;
Rhoi y dwylaw fu dan hoelion,
Wnai i gynal pwys fy mhen,
Profai'm henaid o gysuron
Fwy na llon'd y nefoedd wen!

3 Bellach caiff yr oll a feddwyf,
Gorph ac ysbryd, teilwng yw,
Ar y ddaear tra'r anadlwyf,
Er ei glod y byddwyf byw:
'Nol myn'd adref canaf iddo
Byth o flaen yr orseddfainc,
Nes bo engyl yn rhoi heibio
Ganu, i wrando'm melus gainc.

**228.** *Afon Iachawdwriaeth. . . M. N.* 8, 7.

DYFROEDD bywiol sydd yn llifo
Dan dy orsedd di, fy Nuw,
Fel y grisial gloyw, dysglaer,
Afon iachawdwriaeth yw;
Dyma'r ffrydiau byw rhedegog,
Sydd yn lloni'r ddinas fry;
Ar eu glàn mae pren y bywyd
I iachâu aneirif lu.

2 Dyma le i olchi'r aflan,
Nes ei wneud yn berffaith lân,
Dyma fan i buro'r euog,
A'i waredu rhag y tân;
Hon yw'r ffynon lawn o rinwedd
Sydd yn disychedu'r llawr,
Canwn iddi, mae ei ffrydiau
Yma'n ngwlad y cystudd mawr.

**229.** *Presenoldeb Crist. . . M. N.* 8, 7.

UNWAITH eto mi ddyrchafaf
  Ddwys ochenaid tua'r nef;
Gyda thaerni yr ymbiliaf
  Am ei bresenoldeb ef;
Pwy a wyr na wrendy clustiau
  'R hwn a greodd ddae'r a nen,
Ac na ddaw fy nymuniadau
  Trist hiraethlawn oll i ben?

2 Mi feddyliais fod y wawrddydd
  Hyfryd ddysglaer bron gerllaw;
Mi debygaf, trwy'r cymylau,
  Gwela'i oleu'r ochr draw:
Deued gwyntoedd mwyn y deau,
  Ffoed y cwmwl du o'i le,
Fel y gwelwyf, mewn tiriondeb,
  Bresenoldeb Brenin ne'.

**230.** *Ffoi i'r Noddfa. . . M. N.* 8, 7.

IESU, Cyfaill pechaduriaid,
  Dyro im' i'th fynwes ffoi,
Tra bo'r dyfroedd chwyrn yn llifo,
  A'r tymhestloedd yn crynhoi:
Cuddia fi, O Geidwad, cuddia,
  Nes êl heibio'r 'stormydd blin:
Tywys f' enaid tlawd i'r porthladd,
  Er mwyn d' enw mawr dy hun.

2 Noddfa arall nid oes genyf,
  Pwysa'm henaid arnat ti;
Paid a'm gadael im' fy hunan,
  Cymhorth a chysura fi;
Profi maith rinweddau'th aberth
  Gaffwy'r ochor hyn i'r bedd
Gwedi hyny dwg fi'n dawel,
  I'r Gaersalem lawn o hedd.

3 O fy enaid tro dy olwg
I Galfaria'r fynyd hon,
Gwel dy Geidwad dan yr hoelion,
A'r bicell fain o dan ei fron;
Colli gwaed a cholli dagrau,
Dan ei glwyfau gwelwyd E',
Dyodde' a marw i gadw bywyd
F' enaid euog wnaeth efe.

**231.** *Sylfaen Sion* .. *M. N.* 8, 7.

MAEN yn Sïon a sylfaenwyd
Dyma'r sail gadarna' 'rioed,
Gall yr eiddil mwyaf ofnus,
Yma'n ëon roddi ei droed:
Crist yw'r maen, profedig ydyw,
Sylfaen arall 'does yn bod,
Ni w'radwyddwyd, ni w'radwyddir,
Neb a gredodd ynddo 'rioed.

2 Minau'r truan gwan amheuus,
Er bod ofnau rif y dail,
Bron bob mynyd drwy fy mywyd,
Am ryw gloddio dan fy sail;
Ond nid oes dim iechydwriaeth,
Nac un enw dan y nef,
Geny'n sylfaen cadwedigaeth,
Ond ei enw anwyl ef.

**231.** *Milwyr Sion*. . . *M. N.* 8, 7.

MILWYR Sïon cym'rwn galon,
Gwisgwn arfau'r nef yn llawn,
Byddwn gedyrn yn y frwydr
Tra parhao'n byr brydnawn;
Y mae hyfryd fore tawel
Rhanu'r ysbail bron gerllaw;
Melus seiniwn fuddugoliaeth,
Cyn bo hir yr ochr draw.

2 O fy enaid, dysgwyl ronyn,
Paid er dim a llwfrhau;
Er cael llawer brwydr galed,
Y mae'r olaf yn nesâu;
Caf gyfarfod â'm cydfilwyr,
Aeth trwy'r frwydr o fy mlaen;
Yna seiniwn, "Buddugoliaeth!"
O un galon, ac un gân.

**233.** *Ffynon gras. . . M. N.* 8, 7.

TYRED, Ffynon gras a rhinwedd,
Enyn ynof nefol dân!
Ffrydiau diball o drugaredd,
Sydd yn galw am uchel gân:
Cyfod f' enaid uwch cymylau,
Agwedd a syniadau'r byd:
Gosod fi ar fryn y bryniau,
Bryn dy gariad pur a drud.

2 Yma codaf Ebenezer;
Gras hyd yma a'm daliodd i;
Dysgwyl o'th ddaioni tyner,
'R wyf i dd'od i'm cartref fry;
Iesu am ceisiodd pan yn estron,
Dug fy enaid caeth at Dduw:
Efe, i'm dwyn o law'm gelynion,
Dalodd waed o ddwyfol ryw.

3 O i'th ras mor fawr fy nyled,
Beunydd, beunydd, trwy fy oes!
Boed i'th ras fel cadwyn euraidd,
Byth fy rhwymo i wrth dy groes:
Gwel, tueddol wyf i grwydro,
Ac i'th adael wrth fy mlŷs:
Mŷn fy nghalon, pâr ei selio,
Byth â sêl dy nefol lŷs!

**234.** *Trefn cadw... M. N. 8, 7.*

O MOR ogoneddus ydyw
Trefn y nef i gadw dyn,
Iesu'n marw er ei brynu
A'i rinweddol waed ei hun;
Deddf yn gofyn, Iesu'n rhoddi
Ei gofynion iddi hi,
Duw'n cymodi â'r pechadur,
Deddf y nef mewn bythol fri.

2 Trwy'r efengyl y datguddir
Y dirgelwch mwyaf gawd,—
Nef a daear yn cyfarfod,
Duw'n ymddangos yn y cnawd;
Deued dynion ac angylion,
Oll yn awr â'u cân yn un,
I ryfeddu a chlodfori
Cariad Duw at euog ddyn.

**235.** *Holltau'r Graig... M. N. 8, 7.*

PAN oedd Sinai yn melltenu,
A'i tharanau'n rhwygo'r nen:
Cwmwl tanllyd ei melldithion
Bron ymdywallt am fy mhen;
Nef a daear yn fy ngwrthod,
A'm cyhuddo 'roedd y ddraig,
Gwelais fan i droi fy ngwyneb,
Ce's ymguddfa'n "holltau'r Graig."

2 Pan fo 'stormydd arna' i'n curo
Nes diffygio f' ysbryd gwan,
Yma bellach tro'f fy wyneb,—
Dyma'r unig dawel fan:
Rhedeg mwy yn mhob rhyw drallod
Wnaf i gysgod Had y Wraig,
Hyd nes elo'r aflwydd heibio
Llechu wnaf yn "holltau'r Graig."

3 Gad im' dreulio f' oriau, Arglwydd,
   Tra b'wyf yma yn y byd,
Dan dy aden yn ddiogel,
   Yn y noddfa dawel glyd;
A phan doddo yr elfenau,
   Ac y berwo tonau'r aig,
A holl anian yn ymddryllio,
   Canaf finau'n "holltau'r Graig."

**236.** *Galwad ar Ieuenctid... M. N.* 8, 7.

IE'NCTID hawddgar, pa'm yr oedwch,
   Dewch yn union tua'r wlad
Lle mae gwin a llaeth yn llifo,
   A phob ffrwythau peraidd rhad;
Gwledda'n ddibaid ar ddanteithion
   Gyda'r Brenin wrth y bwrdd,
A phob deigryn wedi'i sychu,
   Heb un gofid mwy i'n cwrdd.

2 Dewch o ddifri', ie'nctid hawddgar,
   Na ddilynwch wagedd ffol;
Rhaid i'ch adael pleser pechod,
   A phob sorod ar eich hol,
Rho'wch eich cwm'ni tua'r ardal
   Lle mae pleser yn parhau—
Canu'n beraidd i'n Harweinydd,
   Mewn gorfoledd mawr didrai.

**237.** *Agoriad Addoldy... M. N.* 8, 7.

TRIGED cwmwl y gogoniant
   Yn y babell newydd hon,
Cluded iddi yn finteioedd,
   Yr ardaloedd oll o'r bron:
Na foed eisiau gweithwyr ffyddlon
   I gyhoeddi efengyl gras,
Hyd nes treulio'r gareg olaf
   Yn y muriau hyn i ma's.

2 Dyma babell i gyfarfod,
  Dyma fan i Ysbryd Duw,
Dyma fan i drin y teulu,
  Ar ei ddeau byth gaiff fyw;
Yma y cyhoeddir cymod
  I droseddwyr gwaetha'n fyw,
Yma y dangosir llwybr
  I hedd a ffafr gyda Duw.

**238.** *Diwedd blwyddyn... M. N.* 8, 7.

DYMA dymhor bron a darfod,
  Blwyddyn eto wedi ffoi,
Llawer cyfaill er ei dechreu,
  Sy'n y ddaear wedi ei roi:
Fe fydd llymion saethau angeu
  Eto'n chwareu yma a thraw;
Lluoedd syrthia'r flwyddyn nesa',
  O am noddfa ddalio'r braw.

**239.** *Dechreu blwyddyn... M. N.* 8, 7.

TREULIWYD blwyddyn ar ol blwyddyn,
  Roddwyd in' gan Frenin nef;
Cawsom eto ddechreu blwyddyn
  O'i ddaioni rhyfedd ef;
Uwchben llawer un yleni
  Oedd y llynedd yn dra llon,
Gellir heddyw ysgrifenu—
  Byddi farw'r flwyddyn hon.

2 'Hedeg wna fy oriau inau,
  A'm blynyddau oll i gyd,
Brysio'r ydwyf tuag adre',
  I drigfanau bythol fyd:
Mae fy amser yn myn'd heibio,
  Rhaid im' ado daear gron,
Gallai mod i'n un o'r werin
  A fydd marw'r flwyddyn hon.

3 Nid wyf eto'n gallu dirnad
    Pryd daw'r alwad ar fy ol,
Ond cael Iesu'n gyfaill i mi,
    Ni raid ofni yn ei gôl:
Cael yr Alpha a'r Omega,
    I mi'n noddfa rhag pob tòn,
A wna farw i mi'n elw,—
    Os rhaid marw'r flwyddyn hon.

**240.** *Dechreu blwyddyn.* .. *M. N.* 8, 7.

WELE eto un yn rhagor
    O flynyddau f' einioes frau,
O fy enaid! wedi darfod,
    Mae'r ddiweddaf yn nesau:
Nid oes yma hir arosfa,
    Rhed fy oriau yn ddigoll,
Ac fe all y flwyddyn yma,
    Fod i mi'r ddiweddaf oll.

2 Deffro f' enaid yn ddifrifol,
    Gyd â gofid dwys yn awr;
Ystyr tra parhâo'th amser,
    Feithder tragwyddoldeb mawr:
Beth yw sylfaen dy grediniaeth
    Am fwynhau tragwyddol hedd?
Beth yw'th obaith am y gwynfyd,
    Sy'n y byd tu draw i'r bedd?

**241.** *Bwrdd yr Arglwydd.* .. *M. N.* 8, 7.

WELE fwrdd ac arlwy'r nefoedd,
    Ger ein bron mewn anial wlad;
Wele gorph a gwaed yr Arglwydd
    Mewn arwyddion er coffhad:
O am gyfran i'n heneidiau
    Heddyw o'r trysorau llawn;
Pethau'r nef sydd uwch pob deall,
    Nes ein gwneud yn ddiwall iawn.

2 Angeu Crist fel hyn ddangosir,
Yn mhob gwlad a thrwy bob oes:
Gan ryw filoedd fe'i harddelir,
Melus gofir ef a'i groes:
A phan ddelo ar y cwmwl,
Mawr fydd braint ei deulu ef;
Myn'd oddiwrth ei fwrdd daearol
At hyfrydol fwrdd y nef.

**242.** *Dydd gras yn awr... M. N.* 8, 7.

YN nydd gras, cyn awr marwolaeth,
Y mae caffael gras a hedd;
Ni bydd cynyg iechydwriaeth,
Na maddeuant yn y bedd;
Mae llawenydd yn y nefoedd,
Pan f'o un pechadur trist,
Yn y dirgel ac ar gyhoedd,
Yn nesâu at Iesu Grist.

**243.** *Erfyn am lwyddiant. M. N.* 8, 7

WELE draed yr efengylwyr
Ar y bryniau'n weddus iawn,
O mor felus y mynegant
Am faddeuant rhad a llawn!
Cluded llongau dros y tònau,
Y trysorau goreu i gyd;
A chyhoedder geiriau'r nefoedd,
Yn holl ieithoedd llwythau'r byd.

2 Y mae'r dyddiau wedi gwawrio,
Clywir swn yr udgorn mawr,
Llais efengyl fwyn yn seinio
Drwy holl barthau'r ddaear lawr;
Y mae'r swper heddyw'n barod,
Allan aed cenadon hedd,
A chymheller pawb i ddyfod,
Mae pob llawnder yn y wledd.

**244.** *Troedigaeth yr Iuddewon. . . M. N.8 .*

WELE 'r faner wen i fyny
Er arwyddo fod rhyddhad,
A phob groeso i'r Iuddewon
Dd'od i Sïon am fwynhad
O fendithion y cyfamod
Wnaed â'u tadau hen cyn hyn,
Ac a seliodd Crist â'i angeu,
Ië, ar Galfaria fryn.

2 Impier hwynt i'w holewydden,
Er cael rhan o'i rhinwedd pêr;
Doed yr Iuddew mud i ganu
Mwy am olud gras ei Nêr;
Cariad rhad a digyfnewid,
A ffyddlondeb mawr didrai,
Ddaeth fel moroedd o Galfaria,
Digon byth i gladdu'r bai.

**245** *Parodrwydd i farw... M. N. 8, 7.*

COFIA f' enaid cyn it' dreulio
D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg draw oddiyma,
P' un a ge'st y trysor drud;
Yn mha ardal bydd fy llety,
Fath, pryd hyny, fydd fy ngwedd,
P' un ai llawen ai cystuddiol
Fyddai'r ochr draw i'r bedd.

2 Pan bo'r llygaid yma'n t'wyllu,
Yn eu pyllau'n llechu lawr,
Troi oddiamgylch wrth ymdrechu
A galluoedd angeu mawr;
P'odd dyoddefaf y fath gystudd
Pwy adfera'r golled hyn?
Oni chaf guddio mhen y'nghlwyfau
'R Oen, fu ar Galfaria fryn?

3 O anialwch maith o dd'rysni,
O afonydd mawr eu grym,
Byr yw'r amser roddwyd i chwi,
Fod yn ddigalondid im';
Derfydd t'wyllwch, derfydd galar,
Derfydd pechod o bob rhyw;
Nid yw'r wlad caf ynddi drigo
Ddim ond presenoldeb Duw.

**246.** *"Son am farw."* . . *M. N.* 8, 7.

SON am farw glywaf yma,
Son am farw glywaf draw,
Dyma'r son a fydd gan eraill,
Ar f' ol inau maes o law;
Pan bo'm traed yn rhydiau'r afon,
Loesau angeu'n chwerwon iawn;
Gwell i mi na'r holl greadigaeth,
'R hwn fu farw un prydnawn.

2 Wrth wynebu tragwyddoldeb,
Daw prysurdeb yn ei rym;
Ni thâl cyfoeth mwya'r ddaear,
Yn y treial hwnw ddim;
Pan bo'r llyfrau'n cael eu hagor,
A'r gydwybod yn deffroi,
Bydd rhyw chwilio yn y cyflwr,
Ffordd bo'r clorian mawr yn troi.

3 Mae'r arwyddion yn cynyddu,
Mai fy ngwely fydd y clai;
Y'mhlith y pryfed mân caf orwedd,
Dyma'r diwedd i bob rhai;
Pan bo f' enaid yn ymadael,
O'r ddaearol babell hon,
Gad im' hedeg yn ddiorphwys,
I mewn i'r lân Baradwys lon.

**247.** *Cysur yn angeu... M. N.* 8, 7.

O IACHAWDWR pechaduriaid,
  Sydd a'r gallu yn dy law;
Rho oleuni, hwylia'm henaid,
  Dros y cefnfôr garw draw;
Gad i'r wawr fod o fy wyneb,
  Rho fy enaid llesg yn rhydd,
Nes i'r haulwen ddysglaer godi,
  Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 Pa fodd rhydiaf yr Iorddonen,
  Oni ddeui di dy hun,
Yno i dori grym y tònau,
  Ac i gynal eiddil un?
Dal fy mhen i'r làn yn gadarn,
  Pan fo angeu'n fawr ei rym;
Pleidia'n wrol yn ei wyneb,
  Pan na b'wyf yn gallu dim.

3 Mae nghyfeillion wedi myned,
  Draw yn lluoedd o fy mlaen;
Rhai fu'n myn'd trwy ddyffryn Baca,
  Gyd â mi i Salem lân:
Yn y dyffryn tywyll garw,
  Ffydd i'r làn a'u daliodd hwy;
Mae'r addewid lawn i minau,
  Pa'm yr ofna'm henaid mwy.

**248.** *Cysur wrth farw. .. M. N.* 8, 7

YN y dyfroedd mawr a'r tònau,
  Nid oes neb a ddeil fy mhen
Ond y ffyddlon Archoffeiriad
  A fu farw ar y pren;
Cyfaill yw yn afon angeu
  Ddeil fy mhen yn uwch na'r dòn,
Golwg arno wna imi ganu
  Yn yr afon ddofn hon.

2 Ac er gwaethaf grym y storom
Sydd yn curo o bob tu;
Af trwy'r gwyntoedd, af trwy'r tònau
Adref i'r baradwys fry;
Gair fy Nuw sydd drech na'r moroedd,
Gair fy Nuw sydd drech na'r dòn;
Mi anturiaf oll a feddwyf
Byth ar yr addewid hon.

**249.** *Gweddi am adnewyddiad.* . . *M. N.* 8, 7.

MAE fy nghalon am ehedeg,
Unwaith eto uwch y lli',
I gael profi'r hen gymdeithas,
Gynt fu rhyngwyf a thydi:
Mi a grwydrais anial garw,
Heb un gradd o oleu'r dydd;
Cael datguddiad o dy gariad,
Wna fy rhwymau oll yn rhydd.

2 O dystawa nghalon ynfyd,
Na chais wrthddrych arall mwy;
Digon mwy na digon ydyw
A ddyoddefodd farwol glwy';
Ffarwel ddaear a'i theganau,
Nid y'ch ond y twyll i gyd;
Uwch yr wybren mae'r Blaguryn,
Dâl roi arno'm serch a mryd.

3 Gosod babell y'ngwlad Gosen,
Tyred Arglwydd yno dy hun;
Gostwng o'r uchelder goleu,
Gwna dy drigfan gyd a dyn:
Trig yn Sïon, aros yno,
Lle mae'r llwythau'n d'od yn nghyd;
Byth na ymâd oddiwrth dy bobl,
Nes yn ulw'r elo'r byd.

**250.** *Tragwyddoldeb... M. N.* 8, 7.

TRAGWYDDOLDEB! mawr yw'd enw,
Ti yn fuan fydd fy lle;
Teithiwr un diwrnod ydwyf,
Fry mae 'nghartref yn y ne';
Mae'm diwrnod bron a gorphen,
Mae fy haul bron myn'd i lawr;
Mae pob awel yn fy chwythu,
Tu a thragwyddoldeb mawr.

2 Nid oes misoedd a blynyddau,
Yn y wlad a welaf draw;
Nid yw myrdd o oesoedd hirion
Yno'n unig ond lled llaw;
Sylwedd ydyw'r oll sy'n dyfod,
Sylwedd byth sydd i barhau;
Pethau hyfryd a digymysg
Gâf ar fyrder eu mwynhau.

**251.** *Tragwyddoldeb... M. N.* 8, 7.

TRAGWYDDOLDEB! mawr yw'th enw,
Mwy yw'th sylwedd mawr yn wir!
Bydd dy wae neu ynte'th wynfyd,
I mi'n gyfran cyn bo hir:
Am gan' miloedd o filiynau,
Mae dy fynwes yn ymgâu;
Beunydd, beunydd, bob mynydyn,
I'th ëangder 'rwy'n nesâu.

2 Tragwyddoldeb! mawr yw'th enw,
Mawr yw'th anfesurol daith!
Nid yw amser, byd, a'i elw,
Ddim wrth dragwyddoldeb maith:
Mi ni fedraf dy amgyffred,
Ond fy nghysur rhag dy fraw,
Ydyw'r Iesu, Duw mewn dyndod,
Tragwyddoldeb sy'n ei law!

**252.** *Ail-ddyfodiad Crist... M. N.* 8, 7.

IESU eto, mewn gogoniant,
Heb y groes a'r goron ddrain,
Ddisgyn gyda myrdd myrddiynau,
Llawen floedd, ac uchel sain:
Cwyd ei orsedd, egyr lyfrau,
Sigla seiliau dyfna'r bedd,
Lleda'r wyntyll, hwylia'r clorian,
Ysgwyd fry ei farnol gledd.

2 Pan y ffy y nefoedd heibio,
Pan y byddo'r byd yn dân,
A'r holl anwir fyd mewn cyffro,
A llu'r saint yn seinio cân;
Pan y toddo'r euog ymaith
Dan lewygon bythol fraw,—
Boed i ni gael tawel orphwys
Ar ei dirion ddeheu-law.

**253.** *Dysgwyl Mab y Dyn... M. N.* 8, 7.

FFOWCH, deganau gwael y ddaear,
Ciliwch wag bleserau'r llawr,
Sefwch draw, y maes a'r fasnach,
Gadewch lonydd i mi'n awr;
Brysio'r wyf, fe alwyd arnaf,
Mae'r Priodfab yn nesâu,
Gyda'r rhai sy'n awr yn barod,
Af, cyn caffo'r drws ei gau.

2 Clywaf lais, o'r nef mae'n galw,
Wele fi yn d'od ar frys;
Goleu'r lamp, gwregysa'th lwynau,
Gwylia, dysgwyl am yr wŷs;
Na thrymhaed fy nghalon bellach,
Cadwed mwyach ar ddihun,
Boed yn effro mwy i ddysgwyl
Am ddyfodiad Mab y dyn.

**254.** *Yr Adgyfodiad*. . . *M. N.* 8, 7.

O MOR hyfryd fydd y boreu,
 Pan ddaw'r saint o lwch y llawr,
Oll i gwrdd â'u Priod Iesu,
 Oll wrth arch yr Angel mawr;
Udgorn Duw a welir ganddo,
 Meirw mud yn d'od yn rhydd;
Bydd y cyfiawn yn dysgleirio
 Fel yr haul ar haner dydd.

2 Myrdd myrddiynau o delynau
 Glywai'n ber tu draw i'r llèn;
Gwych gantorion o'r pereiddiaf,
 Yn rhoi'r goron ar ei ben;
Mil o filoedd o angylion,
 Na throseddodd ddeddfau'r Tad,
Torf o seintiau dirifedi
 Gwedi'u golchi yn y gwaed.

**255.** "*Gwlad well.*" . . *M. N.* 8, 7.

MEWN anialwch maith 'rwyf eto,
 Crwydro fwy-fwy 'rwyf o hyd,
Afon angeu sydd yn agos,
 Chwant ac ofn ymado a'r byd;
Draw mi wela'r tir dymunol,
 Gwlad o hedd a bythol hâf
Gwlad lle nad oes neb yn marw,
 Gwlad lle nad oes neb yn glaf.

2 Gwlad sydd well ddangoswyd imi,
 Sylwedd bythol yno sy',
Digonolrwydd o lawenydd
 Yn dragywydd a geir fry;
Mae'm cyfeillion a'm gorphwysfa,
 Yn y tragwyddoldeb pell;
Mae'm daearol dŷ'n adfeilio,
 Da fod im' adeilad well.

**256.** *Gorphwysfa'r Saint. . . M. N.* 8, 7.

PRYD caf wel'd y tir dymunol,
  Hyfryd baradwysaidd wlad?
Lle mae brodyr i mi filiwn,
  Lle mae Mhriod a fy Nhad;
Lle caf orphwys o fy llafur,
  A gwellhau fy nghlwyfau'n rhâd,
A hoff wledda byth yn berffaith,
  Wrth y bwrdd, yn llŷs fy Nhad.

2 Yno llenwir fy nymuniad,
  Er ei faint ac er ei gri,
A'm holl wagter wneir i fyny,
  O gyflawnder Un yn Dri;
Mi gaf yfed o ffynonau,
  Pur bleserau llawn didrai,
A mwynhau nefolaidd wynfyd,
  Annherfynol i barhau.

**257.** *Teyrnas ddisigl. . . M. N.* 8, 7.

SAIF Breniniaeth gras a bywyd,
  A'i gorseddfa'n fythol lân;
Saif ei heddwch yn dragywydd,
  Saif ei chysur byth, a'i chân;
Hedd, maddeuant, meddyginiaeth,
  Iechydwriaeth ynddi gaed:
Gras i fywyd sy'n teyrnasu,
  Deddf yn gwenu yn y gwaed.

2 Saif heb siglo yn dragwyddol,
  Eiriau yr anfarwol Fod;
Saif ei gynghor a'i gyfamod
  Pan ddatodo rhwymau'r rhod;
Teyrnas ydyw na ddiflana,
  Rhodia'i deiliaid oll yn rhydd,
A phan syrth gogoniant anian,
  Llewyrch hon yn fwy-fwy fydd.

**258.** *Hiraeth am y Nefoedd... M. N.* 8, 7.

O AM nerth i dreulio'm dyddiau,
  Y'nghynteddoedd tŷ fy Nhad;
Byw yn nghanol y goleuni,
  Tywyllwch obry tan fy nhraed:
Byw heb fachlud haul un amser,
  Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
  Pur y croeshoeliedig Oen.

2 'Bryd fy Nhad ca'i yfed dyfroedd,
  Dyfroedd gloyw sy'n iachau?
Pob rhyw bleser wedi darfod,
  Ond yn unig dy fwynhau:
Pwyso'm henaid ar dy fynwes,
  Edrych ar dy wyneb llon,
Caru nes anghofio'r oriau,
  Sydd im' ar y ddaear hon.

3 Cân fy enaid mwy, bydd lawen,
  Minau ddof er tònau maith,
Grym afonydd, llid gelynion,
  Cyn bo hir i ben fy nhaith:
Mi gaf orphen dyrus anial,
  Myn'd i blith y dyrfa fawr,
A chaf fod heb ddim i'm blino,
  Yn eu cwmni fel y wawr.

**259.** *Hiraeth am y Nefoedd.. M. N.* 8, 7.

BLINAIS ar afonydd Babel,
  Nid oes yno ond wylo i gyd;
Llais telynau hyfryd Sïon,
  Sydd yn gyson ddenu 'mryd:
Tyr'd a ni yn dorf gariadus
  O gaethiwed Babel fawr,
Ac nes b'om ar fynydd Sïon,
  N'âd ni i orphwys mynyd awr.

2 Dyn dyeithr ydwyf yma,
Draw mae'm genedigol wlad,
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
Ac o fewn y Ganaan rad;
'Stormydd blin o demtasiynau
A'm curasant i yn bell;
Tyred, awel fwyn y deau,
Chwyth fi i'r baradwys well.

**260.** *Iesu'n Flaenor... M. N.* 8, 7.

TYRED Iesu i ledio'r fyddin
Fyny tua'i gwlad ei hun,
Yr oedd Moses yn rhy fychan,
Er ei fod yn ffyddlawn un,
D'rysa'r gwersyll wrth ei gychwyn,
Oni fyddi di'n eu plith;
Rho dy gwm'ni yn yr anial,
Ti gei glod na dderfydd byth.

**261.** *Melusder yr Iachawdwriaeth... M. N.* 8, 7.

DILIAU melus o fendithion
Da sy'n addewidion Duw,
Er ein cynal yn yr anial,
Tra f'om yn y byd yn byw,
Ni gawn gyrhaedd perffaith wynfyd
Draw ar diroedd hyfryd nen,
A chawn wledda heb alaru
Gyda'r llu tu fewn i'r llen.

2 Mae'r defnynau yma'n felus
Yn yr anial dyrus du,
Pan y caffom yn fyfyriol
Siriol wedd yr Iesu cu,
Mwy dymunol yw ei degwch
Na holl harddwch daear lawr,
O llewyrcha Iesu grasol
Nes bo'i'n nefoedd yma 'nawr.

**262.** *Gwynfyd Nefol.. M. N.* 8, 7.

O MOR gyflym y cynydda
Gwynfyd y gymanfa fry,
Lle mae miloedd yn rhyfeddu
Ac yn moli ein Prynwr cu,
Nid oes yno neb yn wylo,
Y maent fel angylion Duw,
O pwy enaid na ddymunai
Cael myn'd yno i fythol fyw!

2 Chwant sydd arnom wel'd y dyrfa,
Chwant sydd arnom wel'd y gwaith,
Byd sydd lawn o ryfeddodau
Ydyw'r tragwyddoldeb maith;
Ni gawn weled myrdd o bethau
Na ddych'mygwyd ar y llawr
Eu bod fel y cawn eu gweled
Yn y tragwyddoldeb mawr.

3 Pan feddyliom am y gwynfyd
Sydd mewn ailfyd yn ddiau,
Diolch 'rym nad yw ein trigfa
I fod yma i barhau,
Ni gawn fyned i Baradwys
I gael gorphwys cyn bo hir,
Ni rown foliant byth heb flino
Pan na byddo môr na thir.

**263.** *Genedigaeth Crist... M. N.* 8, 7, 4.

WELE ganwyd y Messia,
Cofiwn heddyw am y dydd,
Awn i Bethle'm gyda'r doethion
Gwelwn ef â golwg ffydd,
Cyd-addolwn,
Wele Dduw yn natur dyn.

2 Holl blant Sïon, gorfoleddwch,
A chyd-genwch newydd gân,
Ganwyd i chwi werthfawr Geidwad
Gwiw a gaed drwy'r Ysbryd Glân;
Cenwch iddo,
Nes adseinio'r nefoedd faith.

**208.** *Ymostyngiad Crist... M. N.* 8, 7, 4.

WELE 'r hwn sydd holl-gyfoethog,
Wedi dyfod yn dylawd;
Gado'r nefoedd a'i gogoniant,
Dyfod yma i wisgo cnawd;
Rhyfedd gariad
Iesu Grist ein Hanwyl Frawd.

2 Tlodion gânt eu cyfoethogi,
Trwy ei fawr dylodi ef:
Rhai a gollwyd, gânt achubiaeth,
Trwy ei iechydwriaeth gref;
Diolch iddo,
Rhoes ei hunan yn ein lle.

**265.** *Gorphenwyd... M. N.* 8, 7, 4.

CLYWCH leferydd gras a chariad
O Galfaria'n seinio sydd,
Wele'r cedyrn greigiau'n hollti,
Haul yn t'w'llu ganol dydd:
Fe orphenwyd,
Dwys ddolefai'r Meichiai mawr.

2 O'r trysorau anchwiliadwy
A gynwysir yn y gair!
Môr diderfyn o fendithion
I dylodion ynddo geir:
Fe orphenwyd,
Ni bydd eisiau aberth mwy.

3 Adgyweirir pob rhyw delyn
Trwy y ddaear faith a'r nef,
Er cyd-daro'r anthem newydd,
Heddyw a ddechreuodd ef:
Fe orphenwyd,
Dyma gân na dderfydd byth.

**266.** *"Cymdeithas ei ddyoddefiadau ef."* . *M. N.* 8, 7, 4.

O NA b'ai cystuddiau f' Arglwydd,
Yn fy nghalon i gael lle;
Pob rhyw loes, a phob rhyw archoll,
Pob rhyw fflangell gafodd e':
Fel bo 'i mhechod,
Gael ei glwyfo a'i wanhau.

2 Arnat Iesu boed fy meddwl,
Am dy gariad boed fy nghân;
Dyged swn dy ddyoddefiadau,
Fy serchiadau oll yn lân;
Mae dy gariad,
Uwch y clywodd neb erioed.

3 Iesu nid oes terfyn arnat,
Mae cyflawnder mawr dy ras,
Yn fwy helaeth, yn fwy dwfn,
Gan-waith nag yw mhechod câs:
Fyth yn anwyl,
Meibion dynion mwy a'th gâr.

4 O na byddai oriau mywyd,
Yn ymborthi ar oriau'th boen;
Fel y gallwyf fi gyd-redeg,
A chystuddiau'r addfwyn Oen:
Fe ga'i mhechod,
Felly'n fuan golli ei rym.

**267.** *Buddugoliaeth y Groes... M. N* 8, 7, 4.

GWAED y groes sy'n codi i fyny,
'R eiddil yn goncwerwr mawr;
Gwaed y groes sydd yn darostwng,
Cawri cedyrn fyrdd i lawr:
Gad im' deimlo,
Awel o Galfaria fryn.

2 F' enaid egwan paid ag ofni,
'Dyw d' elynion oll yn un,
Ond rhai eisoes wedi eu concro,
Gan a wisgodd natur dyn:
Fe fỳn weled,
Pob rhyw elyn dan fy nhraed.

3 Dechreu canu, dechreu canmol,
Yn mhen mil o oesoedd maith,
Iesu, bydd y pererinion
Hyfryd, draw, ar ben eu taith:
Ni bydd diwedd,
Byth ar sŵn y delyn aur.

4 Ni bydd yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad;
Poenau'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed;
Darfu ofni,
Daeth llawenydd yn ei le.

**268.** *Ceidwad i'r colledig. . M. N.* 8, 7, 4.

DYMA Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru maddeu
I bechaduriaid mawr eu bai:
Diolch iddo,
Byth am gofio llwch y llawr.

2 Dyma iechydwriaeth hyfryd
Wedi'i threfnu gan fy Nuw;
Ffordd i gadw dyn colledig,
Balm i wella dynolryw:
Dyma ddigon,
Geidw euog fel myfi.

3 Wele foroedd o fendithion,
O am brofi'u nefol flas,
Ni bydd diwedd byth ar lawnder
Iechydwriaeth dwyfol ras;
Dyma ddigon,
Gorfoledda f' enaid mwy.

**269.** *Croesaw at Grist. . . M. N.* 8, 7, 4.

DEUWCH, bechaduriaid tlodion,
Clwyfus, cleifion, o bob rhyw;
Crist sydd barod i'ch gwaredu,
Llawn tosturi yw Mab Duw:
Nac amheuwch,
Abl ac ewyllysgar yw.

2 Rai anghenus, dewch a chroesaw,
I gael rhoddion Duw yn rhad;
Cewch wir ffydd ac edifeirwch,
A phob gras yn ddinacad;
Dewch heb arian,
Prynwch berlau'r nefol wlad.

3 Am gymhwysder na freuddwydiwch,
I wneud i chwi oedi'n hir;
Y cymhwysder oll mae'n geisio—
Gwel'd eich eisiau o hono'n wir;
Hyn a ddyry;
Dyma wawr ei Ysbryd pur.

4 Dewch yn awr, rai blin, trwmlwythog,
Trwy y cwymp ga'dd farwol friw;
Os aroswch nes i'ch wella,
Chwi ni ddeuwch tra f'och byw;
Pechaduriaid,
Nid rhai cyfiawn eilw Duw.

**270.** *Trysorau'r Iesu*... *M. N.* 8, 7, 4.

MAE deng myrddiwn o rinweddau
Dwyfol yn ei enw pur;
Yn ei wedd mae tegwch rhagor,
Nag a welodd môr na thir;
Rhosyn Saron,
Oll yn hawddgar yw efe.

2 Iesu, Iesu, 'rwyt ti'n ddigon,
'Rwyt ti'n llawer mwy na'r byd,
Mwy trysorau sy'n dy enw,
Na thrysorau'r India i gyd,
Oll yn gyfan,
Ddaeth i'm meddiant gyda'm Duw.

AIL RAN.

O DRAGWYDDOL Graig yr oesoedd!
F' enaid cân am dani byth,
Hon yn unig yw fy Noddfa,
Dan ei chysgod gwnaf fy nyth;
Haleluia,
Craig fy iachawdwriaeth yw.

2 Craig a Noddfa ydyw'r Iesu,
Digyffelyb heb ei ail,
Ni ddaw gelyn dros ei furiau,
Ni all dori dan ei sail,
Haleluia,
Craig fy iachawdwriaeth yw.

3 Dyma'r Graig y mae ffynonau
O fendithion parod im',
Dyma'r Graig a ddeil fy Ysbryd,
Yn y 'stormydd mwya'u grym:
Haleluia,
Craig fy iachawdwriaeth yw.

4 Dyma'r Graig a'm deil mewn 'stormydd,
O gawodydd dwfr a thân;
'N wyneb uffern a'i rhuthriadau,
Holl breswylwyr hon a gân;
Cadarn sylfaen,
A osodwyd gan y Tad.

**271.** *Cyfaill goreu...M. N.* 8, 7, 4.

IESU, Cyfaill pechaduriaid,
Cyfaill ffyddlawn byth a lŷn,
N'ad im' bwyso nac ymddiried
Ar un cyfaill ond dy hun;
Digon ydwyt,
Mwy na digon byth i mi.

2 D'wedaist air mi gofiaf hwnw,
Cofio'th eiriau yw fy ngrym,
"Nis gadawaf chwi'n amddifaid,"
Dyma'r gair a dd'wedaist im':
Dyma ddigon,
Mwy na hyn nid oes i'w gael.

AIL RAN.

BELLACH, f' enaid gwan, anadla,
Anfon dy ymbiliau fry
A'th weddiau oll, yn wresog,
O waelodion dyfnder du,
At yr orsedd,
Crist yw'r Archoffeiriad mawr

2 Hwn, fy enaid gwan, yw'r Ceidwad
Ddaeth i geisio'r pell yn ol;
Mae'n dwyn adref y colledig,
'N dychwel y crwydredig ffol:
Canant iddo,
Byth am waredigol ras.

3 Ymladd a gweddia mwyach,
Ymwrola dan y groes;
Paid a dysgwyl ond gelynion
Ar yr union ddyddiau d' oes:
Neb ond Iesu,
Nertha'r eiddil ar y maes.

**272.** *Cartref y serch... M. N.* 8, 7, 4.

YMGARTREFED fy serchiadau
Ar drysorau'r nefoedd fry,
Sail fy nghysur yw rhinweddau
Gwerthfawr angeu Calfari:
Dyma ddigon,
Bywyd yw adnabod Crist.

2 Ymddiriedaf bellach ynddo,
Noddfa i fy nghuddio gaed,
Dygwyd im' gyfiawnder dwyfol,
Pur, tragwyddol, trwy ei waed:
Cuddia hwnw,
Rhag y llid fy enaid byth.

**273.** *Dim ond Crist... M. N.* 8, 7, 4.

NI fedd daear wrthrych teilwng:
Is yr haulwen nid oes un
Dâl i'm calon orphwys arno,
Mwy ei werth yw enaid dyn:
Tragwyddoldeb,
Dyma'i gartref maith i fyw.

2 Sôn am aur, a sôn am berlau,
Soniwch am y gemau 'nghyd,
Dim yw gwerth y cwrel goreu,
A thrysorau penaf byd:
Nid yw'r cwbl,
Ddim i achub enaid un.

3 Colledigaeth sydd yn rhûo,
Nef yn dûo uwch ei ben,
Uffern obry yn ymagor
Nid oes drysor îs y nen
Geidw enaid,
Ond a hoeliwyd ar y groes.

4 Bellach, O! fy nghalon deffro,
Cyfod d' olwg tu a'r fan
Lle mae trysor gwedi'i roddi
I ddigoni enaid gwan:
Iesu'n gwbl,
Dyma fwy na'r nef ei hun.

**274.** *Troi at Dduw. . M. N.* 8, 7, 4.

LLWYR adawn ein ffyrdd drygionus,
A'n meddyliau drwg bob rhyw;
A dychwelwn at yr Arglwydd,
Llawn o drugarogrwydd yw:
Hael Arbedwr,
Rhyfedd dyner ydyw Duw.

2 Awn yn mlaen i geisio'r Iesu,
Tra y mae yn awr i'w gael;
I rodfeydd ei ras mae'n dyfod,
Lle mae'n hynod iawn o hael:
Diolch iddo,
Mae yn gwrando cwyn y gwael.

**275.** *Ffoi i'r bryniau.* . M. N. 8, 7, 4.

O! FY nghalon tyred bellach,
Gwna dy gartref gyda'th Ner;
Hed i fryniau iach Caersalem,
Ti gei gyfoeth uwch y ser,
Iachawdwriaeth,
A gorfoledd pur didrai.

2 Gâd wastadedd teg Gomora
A Sodoma fyn'd ar dân;
Rhed i'r mynydd am dy fywyd,
Ti gei ddiogelwch glân:
Gwaredigaeth,
Cenir yno byth am hon.

3 Brysia bellach, dianc yno,
Noddfa i dy guddio gaed,
Bywyd a chyfiawnder dwyfol,
Pur, tragwyddol, yn y gwaed:
Dim ond hwnw,
Guddia f' enaid euog byth.

**276.** *Arweiniad dwyfol*... M. N. 8, 7, 4.

AGOR y ffynonau melus,
Sydd yn tarddu o'r graig i ma's,
'R hyd yr anial maith canlyned
Afon iachawdwriaeth gras:
Rho im' hyny,
Dim i mi ond dy fwynhau.

2 Dyro'r golofn dân i'm harwain,
A rho'r cwmwl niwl y dydd,
Dal fi pan bwy'n teithio manau,
Geirwon yn fy ffordd y sydd:
Rho im' fanna,
Fel na bo im' lwfrhau.

3 Ymddiriedaf yn dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wne'st erioed:
Ti ge'st angeu, ti ge'st uffern,
Ti ge'st Satan dan dy droed;
Pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'm côf.

**277.** *Bod gyda'r Iesu. . . M. N.* 8, 7, 4.

IESU 'r Prynwr a'm gwaredodd
O'r caethiwed gwaetha 'rioed,
Gydag ef o heddyw allan
Byth 'rwyf yn dymuno bod:
Fy neisyfiad,
Iesu, yw bod gyda thi.

2 Geiriau grasol yw dy eiriau,
Llawn o fywyd y'nt a hedd,
Ar dy ysgwydd y mae'n crogi
Holl allweddau pyrth y bedd;
Fy neisyfiad,
Iesu, yw bod gyda thi.

**278.** *Presenoldeb Iesu. . . M. N.* 8, 7, 4.

MAE dy wedd yn drech na byddin
O elynion mawr eu grym;
Nid oes yn y nef na'r ddaear
Saif o flaen dy wyneb ddim;
Gair o'th enau
Wna y dywell nos yn ddydd.

2 Y mae gwedd dy wyneb grasol
Yn rhagori llawer iawn,
Ar bob peth a welodd llygad
O drysorau daear lawn:
O mor hawddgar,
Ti yw tegwch nef y nef.

**279.** *Dymuniadau'r Cristion... M. N.* 8, 7, 4.

DYSGWYL 'rwyf ar hyd yr hirnos,
Edrych am y boreu ddydd;
Dysgwyl clywed pyrth yn agor,
A chadwynau'n myn'd yn rhydd:
O na wawriai,
Boreu hyfryd Jubili!

2 Nid oes arnaf faich yn gorphwys,
Dim ond eisiau dy fwynhau,
Nid oes arall dan y nefoedd,
All yn hollol fy iachau;
Rho dy gwm'ni,
Cyn im' fyn'd i'r cefn-fôr glâs.

3 Dyma'n gwbl fy neisyfiad,
I mi gael bod yn dy gôl,
Er na theithiais eto nemawr,
N'ad fi dynu hyny'n ol;
Gwna i mi gadw,
'Ngolwg tua'r hyfryd wlad.

4 Dal fy llygad, dal heb wyro,
Dal ef ar dy addewid wir,
Dal fy nhraed heb gynyg ysgog,
Allan o dy gyfraith bur;
Boed d' orch'mynion,
I mi'n gysur ac yn hedd.

**280.** *Deisyfiad am arweiniad... M. N.* 8, 7, 4.

MAE dy Ysbryd di yn fywyd,
Mae dy Ysbryd di yn dân;
Fe sy'n dwyn yr holl fforddolion,
Cywir, sanctaidd, pur, yn mlaen;
Cyfarwyddwr
Pererinion, arwain fi.

2 O dystewch derfysglyd donau,
Tra bwy'n gwrando llais y nef;
Swn mwy hoff, a sain mwy hyfryd
Glywir yn ei eiriau ef:
F' enaid gwrando,
Lais tangnefedd pur, a hedd.

3 Mae gelynion i mi'n chwerw,
Cedyrn y'nt a mawr eu grym;
Ond y rhai wy'n ofni fwyaf,
I ti fy Ior nid ydynt ddim:
Gair o'th enau,
Gwympa fyrdd mewn mynyd awr.

**281.** *Arch i achub... M. N.* 8, 7. 4.

O AM lechu yn y clwyfau
Gynt agorwyd ar y pren,
Unig noddfa f' enaid ydyw'r
Gwr ogwyddodd yno'i ben;
Pwysaf arno,
Doed hi arnaf fel y del.

2 Nid oes fan o dan y nefoedd
Lle caf yn ddiangol fod,
Ond o fewn yr arch ysbrydol;
Byth i Iesu byddo'r clod:
Rhag y diluw,
Yno caf fy nghadw'n fyw.

**282.** *Anchwiliadwy olud... M. N.* 8, 7, 4.

Y MAE rhinwedd gras y nefoedd,
O dragwyddol faith barhad;
Nid oes diwedd byth ar effaith,
Perffaith haeddiant Crist a'i waed;
Ac er golchi,
Dysglaer fydd yr afon byth.

2 Mi ddof finau i'r ffynon loyw,
Darddodd allan ar y bryn;
Ac mi olcha'm henaid euog,
Ganwaith yn y dyfroedd hyn:
Myrdd o feiau,
Dafla'i lawr i rym y dwfr.

3 Iachawdwriaeth rad ei hunan
Yw fy nadl o flaen y nef;
A ffarwel am danaf fythol,
Oni chaf ei haeddiant ef:
Iesu ei hunan,
Oll o flaen y fainc i mi.

**283.** *Trysor enaid. . M. N.* 8, 7, 4.

O FY nghalon, bellach deffro,
Cwyd dy olwg tua'r fan,
Lle mae trysor wedi'i roddi
All ddigoni'r enaid gwan:
Iesu ydyw,
Ac mae'n fwy na'r nef i gyd.

2 Trof fy ngolwg tuag ato
Am gael lle i guddio'r gwan,
Mwy edrychaf ar i fyny,
Am gael Iesu i mi'n rhan;
Ef yw'm bywyd,
A fy unig drysor drud.

**284.** *Hyder y credadyn. . . M. N.* 8, 7, 4.

WRTH dy orsedd di mae bywyd,
Yno caf fi hedd a grym;
Ac ni fethodd is y nefoedd,
Ag a geisiodd genyt ddim:
Minau'r aflan,
Ddeuaf at orseddfa rad.

2 Tyr'd am hyny Iesu'n fuan,
Sâf o blaid yr euog gwan,
Sy'n lluddedig gan gystuddiau
Dyfnion, trymion, yn mhob man:
Yn dy glwyfau,
Caiff fy lloches inau fod.

3 Yn y ffynon a agorwyd,
Yn dy ystlys ar y pren,
'Rwyf fi'n d'od a'm gwisg yn aflan,
I'w chànu yno'n hyfryd wen:
Mi ddof allan,
Fel yr eira ar y bryn.

4 Mae E'n maddeu beiau mawrion,
Ac yn caru yn ddidrai;
A lle caro, mae ei gariad
Yn dragwyddol yn parhau:
Nid oes terfyn,
Ar ei gariad, ar ei ras.

**285.** *Lle tawel. . . M. N.* 8, 7, 4.

DYMA 'r man dymunwn aros,
O fewn pabell bur fy Nuw,
Uwch terfysgoedd ysbryd euog,
A themtasiwn o bob rhyw;
Tan awelon,
Peraidd, hyfryd, tŷ fy Nhad.

2 Rho gydwybod wedi ei chànu,
'N beraidd yn y dwyfol waed;
Cnawd a natur wedi eu maeddu,
Clwyfau wedi cael iachâd;
Minau'n aros,
Yn fy ninas foreu a hwyr.

3 Tan dy aden y rhyfelaf,
Yno'n unig mae fy ngrym;
Tan dy aden y gorchfygaf,
Ynte ni orchfygaf ddim;
Neb ond Iesu
'N ymffrost im' tra byddwyf byw.

**286.** *Profiad y Cristion... M. N.* 8, 7, 4.

CHWILIO am danat, addfwyn Arglwydd,
Mae fy enaid yma a thraw;
Teimlo 'mod i'n berffaith ddedwydd,
Pan y byddoch ti gerllaw:
Gwedd dy wyneb
Yw fy mywyd yn y byd.

Mae fy nwydau wedi mlino
Ganwaith, yn yr ardal hyn;
Lle b'wyf fi maent hwythau yno,
Boed ar foroedd, boed ar fryn:
O am deimlo
Rhyddid paradwysaidd dir.

3 Ti faddeuaist fyrdd o feiau,
I'r pechadur gwaetha'i ryw;
Arglwydd, maddeu eto i minau,
Ar faddeuant 'rwyf yn byw:
Boed dy haeddiant
I mi'n ymffrost ac yn rym.

**287.** *Llwyddiant yr Efengyl... M. N.* 8, 7, 4.

YMDDYSGLEIRIA, Haul Cyfiawnder,
Dros derfynau daear lawr;
Pa'm y caiff y tew gymylau
Guddio'r hyfryd oleu wawr?
Pur wybodaeth
Fo yn helaeth amlhau.

2 Aed efengyl iechydwriaeth
Dros ynysoedd pella'r byd,
Boed i'w llewyrch dysglaer goleu
Lenwi'i gonglau oll i gyd;
Son am Iesu,
Fo'n ymledu o fôr i fôr.

**288.** *Llwyddiant Efengyl.* . . *M. N.* 8. 7, 4.

DROS y bryniau tywyll niwliog,
Gwel, fy enaid, doriad gwawr,
Dwyn yn mlaen mae'r addewidion,
Ddydd o ryfedd ras yn awr;
Hyfryd foreu,
Tyr'd i mewn a'r Jubil fwyn!

2 Boed i'r Indiad, boed i'r Negro,
Boed i'r gwyllt Farbariad wel'd
Gwaedlyd, ddwyfol fuddugoliaeth,
Ar Galfaria'n gyflawn gaed:
Sain efengyl,
Amgylchyno'r ddaear faith.

3 Gwawria, gwawria, hyfryd foreu,
Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes bo bloedd yr auraidd udgorn,
Yn dadseinio nen a llawr:
Holl derfynau
Tir Immanuel i gyd.

**289.** *Llwyddiant Efengyl.* . . *M. N.* 8, 7, 4.

DOS ar led, efengyl gadarn,
'Hed a llwydda, yn mhob lle:
Cymer feddiant o derfynau,
Pella' t'wylla' dan y ne';
A'th deyrnwialen,
Geidwad, gwna rëoli'r byd!

2 Boed i'r gwledydd anwybodus,
Y goleu gogoneddus gael,
Ac o'r Dwyrain i'r Gorllewin,
Nos yn ffoi o flaen yr haul:
Prynedigaeth,
Rad ei doniau, gario'r dydd.

**290.** *Llwyddiant efengyl. . M. N.* 8, 7, 4.

TAENED gweinidogion bywyd,
Iachawdwriaeth Iesu ar led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred:
Aed efengyl,
Ar adenydd dwyfol wynt.

2 Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed y rhai sydd ar y cefnfôr,
I garu'r iachawdwriaeth hyn:
Nes bo adsain,
Moliant yn amgylchu'r byd.

**291.** *Llwyddiant efengyl. . M. N.* 8, 7, 4.

TAENED gwir Genadon Iesu,
Air y bywyd tros y byd;
Haul cyfiawnder fo'n tywynu,
Dros ei gonglau oll i gyd;
Gair yr Arglwydd,
Yn ei lwydd a redo 'mlaen.

2 Sôn am Iesu aed i ddryllio,
Holl gyndynrwydd India fawr,
Sôn am angeu Crist ddymchwelo
Gau grefyddau'r byd i lawr;
Neb ond Iesu,
Fyddo Brenin dynolryw.

3 Hen Efengyl fo'n prysuro,
Hilio'r byd yn gyflym iawn;
Coder gweithwyr i ddadseinio,
Angeu'r groes, a'i haeddiant llawn,
Trefn cymodi,
Elo'n gyhoedd dros y byd.

4 Pelledigion byd fo'n clywed,
Son am aberth Calfari,
Rhin y ffynon sy'n agored
I bechodau atgas ri';
Fel bo'r Iesu,
A'i rinweddau oll yn oll.

**292.** *Y Cwmwl bychan. . . M. N.* 8, 7, 4.

BETH yw'r cynhwrf yn ein dyddiau,
Am ledaenu geiriau Duw?
On'd yw hyn yn arwydd goleu,
Llawn o ras i ddynol ryw?
Gras y nefoedd,
Sydd yn esgor ar ei ddawn.

2 Seiniwn gân, a llon ddiolchwn,
Cododd cwmwl bychan draw;
Mae'n ymchwyddo, mi debygwn,
Y mae'n arwydd pwys o wlaw:
Trwst cawodydd,
Dwys sydd yn addewid Duw.

3 Cwmwl bychan mewn cychwyniad,
Cledr llaw mewn lled a hyd,
O ddyfnderoedd môr mae'r tarddiad,
Daw'n llifeiriant dros y byd;
Mae'r addewid,
Heddyw'n llwythog lawn o ras.

4 On'd oes ambell un yn erfyn,
Gan ymdrechu yn y gwaith?
Fel Elïas maent yn gofyn,
Gwlaw ar ol y sychder maith;
Na ddiffygient,
Daw ar fyr y seithfed tro.

5 Mewn ymbiliau'n daer erfyniwn,
Tra parhao dyddiau'n hoes;
Ac mewn llafur na ddiffygiwn,
Ffrwyth a ddaw o waed y groes;
Caiff cenedloedd,
Brawf o rinwedd dwyfol hwn.

**293.** *Y byd i Grist.. . M. N.* 8, 7, 4.

IESU, cadarn wyt mewn rhyfel;
Concra, enill drwy dy waed,
Gwisg dy gleddyf a marchoga
Yn llwyddiannus drwy bob gwlad;
Cymer d' allu,
A theyrnasa dros y byd.

2 Addewidion mawr a roddwyd
Daw rhyw ddyddiau mawr eu bri,
Bydd cyn hir deyrnasoedd daear,
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni;
Sain caniadau
Iachawdwriaeth fydd drwy'r byd.

**294.** *Sancteiddio'r Sabboth. . . M. N.* 8, 7, 4.

O AM dreulio'r Sabboth sanctaidd,
Drwyddo'n weddaidd yn dy waith;
Gŵyl hynodol a bennodaist,
Pan osodaist un o saith:
Dydd i borthi,
Sïon deulu sydd ar daith.

2 Dyro nerth i'th weision heddyw
Sefyll dros dy enw mawr,
I gyhoeddi Ceidwad enaid,
I drueiniaid ar y llawr,
Ymddysgleiria,
Tirion wena, tòr y wawr.

**295.** *Cynauaf ffrwythlawn... M. N.* 8, 7, 4.

MAWR ddiolchwn, caed cynauaf,
Cnwd toreithiog drwy y wlad;
Uchel ganwn, Haleluia,
Moliant am y rhoddion rhad:
Mawr yw gofal
Duw am wael wrthnysig ddyn.

2 Nis gall dyn ond hau y gronyn,
Gyda'i guddio dan y gŵys,
Duw rydd gynydd i'r eginyn
Nes daw'n lawn dywysen lwys:
Rhydd y cynydd
Mewn dull doeth uwch deall dyn.

3 Gwaith yr Arglwydd yw addfedu
Ar y maes yr egin gwiw:
Ynddo ef yr y'm bob enyd
Oll yn symud, bod a byw:
O boed i ni
Byth ei foli am ei ras.

**296.** *O flaen Pregeth... M. N.* 8, 7, 4.

ARGLWYDD grasol dyro gymhorth,
I gyhoeddi eto i maes,
Ddyfnder calon dyn truenus,
Ac anfeidrol olud gras;
Fel bo dyfnder,
Byth am ddyfnder yn cael sôn.

2 Dyro'th Ysbryd i lefaru,
Ac i wrando d' eiriau pur;
Boed ei lewyrch nefol hyfryd,
A'i arddeliad ar y gwir:
O amlyga
Anorchfygol nerth dy ras.

3 D' air fel gordd, a dŷr galonau
Creigaidd iawn yn chwilfriw mân;
D' air, fel tan, a wir oleua,
Ac a bura'r brwnt yn lân:
Gad in' deimlo
Dwyfol nerth efengyl hedd.

**297.** *Hiraeth y Pererin.* . . *M. N.* 8, 7, 4.

ARGLWYDD cynal fi'n yr anial,
Trwy fy nhaith b'wyf yn dy law,
Hyd nes delwyf trwy'r Iorddonen
'N iach i dre' yr ochr draw,
I gael gorphwys
Yna'n llawen, gyda'r llu.

2 Dal fi i fyny Arglwydd grasol,
A rho im' o'th siriol wedd,
Bydd arweinydd i mi beunydd,
Yn y byd nes myn'd i'r bedd,
Haleluia,
Y mae'r Iesu gyda ni.

**298.** *Duw'r bendithion*. . . *M. N.* 8, 7, 4.

DUW 'r bendithion yw dy enw,
Rhoddi'r wyt yn helaeth iawn,
Ac 'nol rhoddi yn y boreu,
Rhoddi eilwaith y prydnawn;
Dyro fendith
Eto'n rhagor yma i lawr.

2 Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
A fu'n dysgwyl wrth dy ddôr,
Ac er rhoddi'n helaeth iddynt,
Para'n gyflawn mae dy stôr;
Rho i minau
Fendith newydd, anwyl Dad.

3 Ar d' addewid mi anturiaf,
Ac ymbiliaf ger dy fron,
Am gael bendith, Dad anwylaf,
Rwy'n hiraethu'r fynyd hon:
Wrth dy orsedd
'R wyf am fod tra byddwyf byw.

**299.** *Angeu'n agos. . . M. N.* 8, 7, 4.

MAE fy nyddiau yma'n darfod,
Tynu tua'r beddrod 'rwy';
Buan rhodia'i'r llwybr hwnw
Na ddychwela' i ar hyd-ddo mwy:
Tuag adre'
'Rwyf bob awr yn agosâu.

2 'Rwyf bron gadael byd gweledig,
'Rwyf bron myn'd i'r ochr draw,
Angeu, Brenin dychryniadau,
Sydd â'i farwol saeth gerllaw:
Tragwyddoldeb
Fydd fy nghartref cyn bo hir.

**300.** *Ofn y bedd. . . M. N.* 8, 7, 4.

PA'M 'rwy'n drist, a llesg ac ofnus,
Pa'm 'rwy'n brudd drwy f' oes o'r bron,
Wrth fyfyrio'r âf yn fuan
I orwedd dan y ddystaw dòn;
Fe fu Iesu,
Yno'n gorwedd o fy mlaen.

2 Mae angylion yn fy nghymhell;
Edrych, meddant, dyma'r lle,
Dyma'r ardd a'r bedd, a'r gareg,
Gynt a dreiglwyd arno fe:
Gwel y carchar
Wedi ei ddryllio'n chwilfriw mân.

3 Ciliwch ofnau, ffowch amheuon,
Ddarfu'm blino lawer awr,
Mynych gwnaethoch i mi weled
Pethau bach yn bethau mawr:
Mae allweddau
Pyrth y bedd wrth wregys Crist.

**301.** *Hiraeth am fwynhad... M. N.* 8, 7, 4.

O NA chawn ddifyru nyddiau
Llwythog, dan dy werthfawr groes,
A phob meddwl wedi ei g'lymu,
Wrth dy berson ddydd a nos:
Tan dy gysgod,
Mewn tangnefedd pur a hedd.

2 Dyma'r man dymunwn drigo,
Wrth afonydd gloywon llawn,
Sydd yn llifo o ddwfr y bywyd,
O foreuddydd hyd bryduawn:
Lle cawn yfed,
Hyfryd gariad byth a hedd.

3 Ffordd nid oes o waredigaeth,
Ond agorwyd ar y pren,
Llwybr pechaduriaid euog,
Mewn i byrth y nefoedd wen:
Dyma gefnffordd,
Gwna i mi ei cherdded tra f'wyf byw.

**302.** *Dydd y farn.* .. *M. N.* 8, 7, 4.

DAW y Barnwr yn ei gerbyd
Udgyrn fyrdd a gân o'i flaen:
Cyd-ymgasgla'r meirw cysglyd,
Oll gerbron ei orsedd lân;
Haleluia,
Groesaw anwyl Grist o'r nef.

2 Gorfoledda y ffyddloniaid
A'u llawenydd fydd yn llawn,
Daw eu Prynwr mawr bendigaid,
A'u Gwaredwr anwyl iawn;
Haleluia,
Gwisgant eu coronau hardd.

**303.** *Priodas yr Oen.* .. *M. N.* 8, 7, 4,

PWY Dywysog—beth yw'r cerbyd?
Welir draw uwch ser y nen,
A hardd osgordd ar feirch gwynion,
Llawer coron sy' ar ei ben!
Brenin ydyw,
Dacw'i enw ar ei wisg.

2 Treiddia'i olwg drwy'r gre'digaeth,
Fel fflam dân ei lygaid sy':
Pwy yw Hwn—ond Priod Sïon,
Gwena'n dirion arni hi:
Hawdd ei 'nabod,
Wrth ei wisg sydd goch o waed.

3 Pwy yw'r hardd Briodferch welir
Draw yn d'od trwy byrth y bedd?
Gwridia'r wawr, er maint ei harddwch,
O flaen tegwch hoff ei gwedd!
Sïon ydyw,
Yn ei gwisg o lian main.

**304.** *Gwledd na heneiddia... M. N.* 8, 7, 4.

MELUS wledd a bery'n newydd
Beunydd heb heneiddio mwy,
I eneidiau llesg fydd cofio,
Cofio Crist a'i farwol glwy',
Arlwyadau,
Gwerthfawr angeu Calfari.

2 Bara gaed i'r llesg newynog,
Gwisg i guddio'r euog rai;
Gwin i loni'r enaid egwan,
Iawn digonol dros bob bai;
Gwaed a lifodd
Ar Galfaria ddyry hedd.

**305.** *Gwleddoedd y Nef... M. N.* 8, 7, 4.

AED y nos derfysglyd heibio,
Doed y boreu cyn bo hir,
Pan y caffo'm henaid wledda
Yn y nefol Ganaan bur;
Gyda myrddiwn
O ffyddloniaid anwyl nef.

2 Yno y dymunwn drigo,
Wrth afonydd gloywon llawn,
O risialaidd ddw'r y bywyd,
Sydd yn llifo'n hyfryd iawn;
Lle cawn yfed,
Hyfryd gariad byth mewn hedd.

**306.** *Wrth ymadael... M. N* 8, 7, 4.

DAN dy fendith wrth ymadael,
Y dymunem Arglwydd fod,
Llona'n calon â dy gariad,
Llanw'n genau â dy glod,
Dy dangnefedd,
Dyro i ni yn barhaus.

2 Am efengyl gras a'i breintiau
Rhoddwn ddiolch byth i ti:
Caffer addfed ffrwythau'r Ysbryd
Yn lluosog arnom ni;
I'r gwirionedd,
Gwna ni'n ffyddlawn tra bo'm byw.

**307.** *Cawsom y Messia... M. N.* 8, 7, 3.

WELE cawsom y Messia,
Cyfaill gwerthfawroca' erioed;
Darfu i Moses a'r Prophwydi,
Ddweyd am dano cyn ei dd'od:
Iesu yw, gwir Fab Duw,
Ffrind a Phrynwr dynolryw.

2 Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle;
Swm ein dyled mawr fe dalodd,
Ac a groesodd filiau'r ne';
Trwy ei waed, i ni caed,
Fythol heddwch a rhyddhad.

3 Dyma Gyfaill haeddai'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un:
Prynu'n bywyd, talu'n dyled,
A'n glanhau a'i waed ei hun,
Frodyr dewch, llawenhewch,
Diolchwch iddo, byth na thewch.

**398.** *Ffynon wedi ei hagor... M. N.* 8, 7, 3.

DACW 'r ffynon wedi ei hagor
A ddysgwyliwyd lawer oes,
'Nawr yn llifo fel y grisial
Maes o'i ystlys ar y groes,
Dwfr a gwaed, rydd iachad,
I'r pechadur mwyaf gaed.

2 Minau bellach a obeithiaf,
Gobaith ag all estyn f' oes,
Gobaith wedi ei sylfaenu
Ar och'neidiau pur y groes:
Dyma wlad, caf iachad,
A chaf gyflawn wir ryddhad.

**309.** *Cyfiawnder Crist... M. N.* 8, 7, 3.

DOD gyfiawnder y Messia,
I dd'od am danaf i'th wydd di,
A chyfiawnder egwyddorol,
Anian fywiol ynof fi:
O na bawn, lestr llawn
O bob rhinweddol ddwyfol ddawn.

**310.** *Ymdrech Iesu... M. N.* 8, 7, 3.

O FY enaid, nac anghofia
Ymdrech Iesu yn yr ardd,
Ei ruddfanau ef a'i boenau,
Wrth glirio'n llwyr ei gyfraith hardd:
Iesu yw'r Iawn, daliad llawn,
A ddyoddefodd un prydnawn.

2 Gwel E'n chwysu'r dafnau gwaedlyd
Ar noswaith rewlyd yn yr ardd;
Iesu siriol, rhosyn Saron,
O hwn bendithion pawb a dardd:
Ein Bara byw, a'n Haberth yw,
Dyoddefodd dân digofaint Duw.

**311.** *Mwynhad y Cristion.. M. N.* 8, 7, 3.

DACW gariad fel yr afon,
Dacw heddwch fel y llif,
Wedi'm mrodyr gael ei feddu,
Brodyr anwyl fwy na rhif;
Gyda hwy, caiff fod mwy,
F' enaid heb na briw na chlwy'.

2 Mi gaf fod o flaen yr orsedd,
Mi gaf ganu'r anthem bur,
Pan ddarfyddo son am ddaear,
Son am foroedd, son am dir;
Dwyfol loes, angeu'r groes,
Fydd y canu ddydd a nos.

3 Minau bellach orfoleddaf,
Mae fy mywyd gwerthfawr iawn,
Wedi ei roddi 'nghudd i gadw,
Mewn Cyfryngwr perffaith llawn:
Abl yw, mae fe'n Dduw,
Ceidw f' enaid bach yn fyw.

**312.** *Ysbryd gweddi... M. N.* 8, 7, 3.

O AM ysbryd i weddio,—
Byw dan geisio Iesu gwiw,
Gorsedd gras yw ne'r credadyn,
Ar ei ddeulin gyda ei Dduw;
Arglwydd cu, rho i mi
Anian ceisio genyt ti.

2 Cydymbiliwn ar ein gliniau
Am weniadau'r Ysbryd Glân,
O am deimlo yn bresenol
Bur effeithiau'r nefol dân:
Rho'wn ein llef, tua'r nef,
Am ei arg'oeddiadau ef.

**313.** *Taith yr anialwch... M. N.* 8, 7, 3.

AROS Iesu yn y rhyfel,
F' enaid yn lluddedig sydd;
Ti biau d'rysu fy ngelynion,
Ti biau'r enw, ti biau'r dydd:
Yn dy ddawn, unig cawn,
Fuddugoliaeth werthfawr iawn.

2 Minau gerddaf trwy'r byddinoedd,
Ond it' gerdded o fy mlaen;
Mae dy gamrau'n tori'r tònau,
Mae dy gamrau'n diffodd tân;
'N ol dy droed, gwna i mi dd'od,
Fy hyfrydwch mwya' erioed.

3 Mae dy air yn abl f' arwain,
Trwy'r anialwch mawr yn mlaen,
Mae e'n golofn oleu eglur,
Weithiau o niwl, ac weithiau o dân,
Mae'n ddiblê, ynddo fe,
Fwy na'r ddaear, fwy na'r ne'.

4 Da i mi fod yr addewid,
Wedi ei rhoddi gan fy Nuw,
A bod gair o enau'r Brenin,
Uwch gelynion o bob rhyw;
Ei 'ddewid ef, gadarn gref,
Arwain eiddil gwan i'r nef.

**314.** *Bodd i'r gelyn ion... M. N.* 8, 7, 3.

RHWNG Pi'hïroth a Baalsephon,
Tra f'wy' byw mi gofia'r lle,
Mewn cyfyngder eitha' caled,
Gwaeddodd f' enaid tua'r ne';
Yn ddioed, dyma'n d'od,
Waredigaeth fwya' 'rioed.

2 Aros ronyn (barwyd i mi,)
Ti gai weled cyn prydnawn,
Fyrdd yn soddi yn y dyfnfor,
O elynion creulon iawn;
Maes o law, gwynfyd ddaw,
Ti gai ganu'r ochr draw.

3 Dacw'r gelyn, ebe f' Arglwydd,
Ganwaith faeddodd d' enaid gwan,
'Nawr yn methu gan y tonau,
Godi ei wyneb dig i'r làn;
Tyr'd y'mlaen, dechreu'th gân,
Dy holl elynion boddi wnan'.

**315.** *Hunanymholiad. . . M. N.* 8, 7, 3.

BETH yw'r achos bod fy Arglwydd
Hawddgar, grasol yn pellhau?
Yn guddiedig, neu yn gyhoedd,
Mae rhyw bechod yn parhau;
Tyr'd yn awr, tòr i lawr,
Fy anwiredd, fach a mawr.

2 Chwilia, Arglwydd, fy holl galon,
Chwilia'm llwybrau maith o'r bron,
Chwilia bob rhyw 'stafell ddirgel,
Sydd o fewn i gonglau hon,
Mỳn i maes bob peth cas,
Sydd yn attal nefol ras.

**316.** *Caniadau Sion. . . M. N.* 8, 7, 3.

WELE 'r Oen ar fynydd Sïon,
'Nawr a'i weision gydag ef;
Dwyn maent enw'u Tad a'u Harglwydd,
Dyma arwydd Brenin nef:
Wele'r llu, sanctaidd sy'
'N teithio tua Salem fry.

2 Pedair mil a saith ugeinmil,
Dyma lu ofnadwy iawn,
Oll yn canu eu telynau,
O foreuddydd hyd brydnawn;
Uchel lef, gadarn gref,
Yn moliannu Brenin nef.

3 Newydd byth a fydd eu hanthem,
Cân briodol iddynt hwy;
Ger bron nefoedd a'r orseddfainc,
Canant am ei farwol glwy';
Yn un llef groyw gref,
Oll dywedant, "Iddo Ef."

**317.** *Galwad yr efengyl. . . M. N.* 8, 7, 3.

DEUWCH hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd,
'R y's yn galw pawb o'r enw,
I fwynhau tragwyddol wledd;
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

2 Dewch y deillion, dewch y cloffion,
Dewch y gwywedigion rai,
Ymadewch o'r blaen ag oeddych,
Yn cael pleser i'w fwynhau;
Chwi gewch win, nefol rin,
Yma i'w yfed yn ddibrin.

3 Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw,
Nid oes enw teilwng arnynt,
Ond cyfiawnder pur fy Nuw,
Lliain main, ydyw'r rhai'n,
Sydd yn cuddio pob rhyw 'staen.

4 Dyma'r wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhad;
Yma cewch chwi brofi'r cariad,
Hedd yn nofio yn y gwaed;
Dewch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr.

**318.** *Yr achos cenadol. .. M. N.* 8, 7, 3.

ARGLWYDD anfon dy leferydd,
Heddyw yn ei rwysg a'i rym,
Dangos fod dy lais yn gryfach
Nag all dyn wrthsefyll ddim;
Cerdd y'mlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân.

2 Dere Iesu i'r ardaloedd,
Lle teyrnasa tywell nos,
N'ad fod rhan o'r byd heb wybod,
Am dy chwerw angeu loes,
Pa'm bydd poen, addfwyn Oen,
Am dano yn eitha'r byd heb son!

3 Mae'r efengyl wen yn curo,
Ac yn codi baner gras,
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar y mynydd, yn y maes;
Y mae llef, bur y nef,
Yn cyhoeddi ei haeddiant ef.

**319.** *Y Meddyg da. .. M. S. D.*

MAE Iesu Grist yn Feddyg da,
Ar lais y cla' mae'n gwrando;
Nid oes afiechyd o un rhyw
Na ŵyr Mab Duw am dano;
Ni roes i fyny'r un erioed—
Er fod pob oed yn dyfod—
I gael iachad o'u clwyfau mawr,
Mae ef bob awr yn barod.

2 Pa fodd yr ymdawelwn mwy
Dan hen wahanglwy' pechod?
Gan fyn'd o'r Meddyg i'r fath draul
Fel gallem gael gollyngdod;
Ar bob meddygon yn mhob lle,
Mae E' yn mawr ragori;
Mae'n rhad ac ewyllysgar iawn,
Mae'n llawn o bob tosturi.

**320.** *Gwledd Efengyl... M. S. D.*

YN mynydd Sïon y mae gwledd
  I'r gwael eu gwedd, O deuwch;
A phechaduriaid o bob gradd
  Sy'n cael eu gwa'dd, O deuwch:
I bob newynog croesaw sydd
  Tra pery'r dydd, O deuwch;
Mae'r wledd yn llawn, a rhad, a rhydd,
  O deuwch, deuwch, deuwch.

2 Eneidiau llesg, tylodion, noeth,
  I gaffael cyfoeth, deuwch;
A'r euog, isel, ofnus rai,
  Dan bwys eich bai, O deuwch;
I enaid gwan mae yma faeth
  O win a llaeth, O deuwch;
Mae'r wledd yn llawn, a rhad, a rhydd,
  O deuwch, deuwch, deuwch.

**321.** *Adgyfodiad Iesu... M. S. D.*

DAETH Crist o'r bedd i fyny'n fyw,
  Er marwol friw, O canwn!
Yn mysg y meirw mwy nid yw,
  Ein bywyd ydyw, canwn!
Mae pob awdurdod ganddo ef,
  Drwy'r ddae'r a'r nef, O canwn!
Ei fraich achubol sydd yn gref,
  Moliannwn ef, a chanwn.

2 Nid allodd angeu ei ddal yn gaeth,
  Yn rhydd y daeth, O canwn,
Y bedd ac uffern 'speilio wnaeth,
  Ei fuddugoliaeth folwn;
Mae agoriadau rhai'n i gyd
  'Nawr ganddo hefyd, canwn;
Ein Priod yw Iachawdwr byd,
  Gall gadw'n bywyd, canwn.

**322.** *Mawl i Dduw.* . . *M. C.* 8, 6.

MOLIANNU Duw sydd hyfryd waith,
A'n dyled penaf ni;
A chalon bur, â nefol iaith,—
Rhown iddo Ef ei fri.

2 Daeth cariad Duw â gras a hedd
I euog lwch y llawr:
Rhagorach testun mawl ni fedd
Trigolion nef yn awr.

3 O Dduw, mor oeraidd ydym ni,
Er dy ddaioni mawr:
Dy gariad ynom, dyro di,
I'th foli'n bur bob awr.

**323.** *Nerthoedd yr Ior*... *M. C.* 8, 6.

O NERTHOEDD mawr y bythol Iôr,
Plyg anian ger ei fron;
Ei air yw deddf yr ëang fôr,
A'i amnaid ddofa'r dòn.

2 Wrth swn ei droed y bryniau ffy
I geisio cuddio'u pen;
Gan ryfedd rym y corwynt cry'
Y sigla seiliau'r nen.

3 Fy enaid, cais ei nawdd mewn pryd,
Rhag suddo yn y lli';
Trwy ganol blin ryferthwy'r byd
Ei fraich a'th gynal di.

**324.** *Defnyddioldeb y Gair.* . *M. C.* 8, 6.

Y GAIR sy'n dangos gras ein Duw,
Anfeidrol yw ei faint;
Cawn yma wel'd cyfiawnder Crist
I'r enaid trist yn fraint.

2 Hwn ydyw cledd yr Ysbryd clau
A roed i'r seintiau oll,
I ymladd ymdrech dêg y ffydd,
Nes gwawrio'r dydd digoll.

3 Hwn yw ein hymborth pur dilys,
A'n lluniaeth melus yw;
Holl foethau'r ddaear fyth ni cheir,
Yn debyg i Air Duw.

4 Er chwilio'r greadigaeth fawr,
A'i thrysor dirfawr hi,
Gwael ydyw golud byd a'i lwydd,
Wrth Air ein Harglwydd ni.

**325.** *Pa beth yw dyn . . . M. C.* 8, 6.

PA beth yw dyn? Canolbwynt mawr
Y ddaear lawr a'r nef,
Elfenau'r bydoedd oll yn awr
Gydunant ynddo ef.

2 Gall sylwi ar y pryfyn tlawd
A chwery yn y pridd,
A d'wedyd wrtho, Ti yw'm brawd,
Cyd-drigwn eto'n brudd.

3 Gall hefyd droi ei olwg draw
I'r nefoedd freiniol fry,
A chydag angel ysgwyd llaw,
A dweyd, Fy mrawd wyt ti.

4 Gall sylwi ar y beddrod du,
Wrth wywo'n wael ei wedd,
Ac adrodd ar ei lan yn gu,
Fy mam, fy mam yw'r bedd.

5 Gall hefyd droi i dremio fry,
At lys y nefol wlad,
A thystio gydag agwedd gu,—
Draw gwelaf dŷ fy Nhad.

**326.** *Pa beth yw dyn. . . . M. C.* 8, 6.

PA beth yw dyn? Creadur hardd
A wnaed ar ddelw Duw,
Osodwyd gynt yn Eden ardd
Yn benaeth bob peth byw.

2 Pa beth yw dyn? Rhyw bryfyn gwael
Ymdreigla'n llwch y llawr,
A feiddia wawdio'i Grewr hael,
A herio'r orsedd fawr.

3 Pa beth yw dyn? Carcharor caeth
Gan berffaith gyfraith Iôr,
Yn haeddu am yr hyn a wnaeth,
Fod byth mewn tanllyd fôr.

4 Pa beth yw dyn? Carcharor sydd
Mewn gobaith i gael bod,
Trwy waed yr Oen yn hollol rydd,
Yn plethu'n glau ei glod.

**327.** *Cyfamod hedd. . . M. C.* 8, 6.

MAE addewidion, melus wledd,
Yn gyflawn ac yn rhad,
Yn y cyfamod pur o hedd,
Tragwyddol ei barhad.

2 'Rwyf finau yn dymuno dod
I'r wledd ddanteithiol fras;
Ac felly mi gaf seinio clod
Am ryfedd rym ei ras.

3 O rhwyma fi wrth byst dy byrth,
I aros tra f'wyf byw,
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
A'th foli di, fy Nuw.

4 Tydi fo'm cymhorth parod iawn,
I'm cynal ar fy nhaith :
A thi dy hun fo'm trysor llawn
I dragwyddoldeb maith.

**328.** *Edifeirwch.. M. C.* 8, 6.

YN ol dy dosturiaethau rhad
O Arglwydd trugarhâ
Wrth un sy'n teimlo'i galon ddu
O'm mewn yn llawn o bla.

2 O cuddia di dy wyneb byth
Oddiwrth fy meiau mawr,
Dilëa'm hanwireddau oll
Fel nos o flaen y wawr.

3 Rho eto im' orfoledd pur
Dy iechydwriaeth faith;
Rho'th Ysbryd hael i'm cynal mwy
O hyn i ben fy nhaith.

**329.** *Crist yn neddfle dyn. . .M. C.* 8, 6.

MAWR achos llawenhau, gwir yw,
I ddynol-ryw a roed;
Daeth Crist i lawr o'i uchel lys,
Ei enw'n barchus boed.

2 Mae Crist i ddyfod, meddid gynt,
A dyrchafedig fydd :—
Fe ddaeth, fe ddaeth, mae'n Feddyg da,
Hosana heddyw sydd.

3 Fe ddaeth i'n deddfle ni'n ddiau,
Yn ol bwriadau'r nef;
O am wir ffydd i wneud coffhad
Am ei ddyoddefiad ef.

**330.** *Dyoddefaint Crist... M. C.* 8, 6.

BODDLONODD pawb trwy nef a llawr
Groeshoelio'r Oen ar bren;
Mae'r 'wyllys genyf finau'n awr
'Roi'r goron ar ei ben.

2 Gogoniant fyth i'r Iesu gwiw,
Dyoddefodd ing a phoen;
Tragwyddol fywyd imi ddaeth
Trwy werthfawr waed yr Oen.

3 Daeth dw'r a gwaed o'i ystlys bur,
Pan drengodd ar y groes;
Maddeuant llawn a llwyr lanhad,
Trwy rinwedd marwol loes.

4 Wrth gofio am ei gariad drud,
Yr ŷm yn canu'n awr;
Ond cawn foliannu'n ganmil gwell
'N ol dianc uwch y llawr.

**331.** *Iawn Crist. . . M. C.* 8, 6.

RHYFEDDU 'rwyf, rhyfeddu wnaf,
I oesoedd maith am hyn,
I Grist dros elyn euog dd'od
I ben Calfaria fryn.

2 Boddlonodd yno ddeddf y nef
Drwy roi anfeidrol iawn,
Ei waed a roes er mwyn i ni
Gael rhad faddeuant llawn.

3 I'r bedd yr aeth fel un f'ai'n rhwym,
Gan angeu brenin braw;
Ond daeth y trydydd dydd i'r làn
A phardwn yn ei law.

4 Esgynodd fry i'r nef yn ol
Ac ni bydd farw mwy,
I oesoedd tragwyddoldeb maith
Fe genir am ei glwy'.

**332.** *Iawn Crist... M. C.* 8, 6.

DAN bwys ein bai yn dyoddef poen,
Bu'r Oen ar Galfari;
Gwnaeth i gyfiawnder dan ei gur,
Iawn yn ein natur ni.

2 A thrwy yr Iawn mae'r Ysbryd Glân
Yn puro'r aflan rai;
Trwy iawn bydd myrdd ar ben eu taith
Yn berffaith heb un bai.

3 Ar sail yr Iawn mae Crist ei hun
Yn eiriol fry'n y nef:
Wel dyma Iawn na thraetha neb
Ei anfeidroldeb ef.

**333.** *Angeu'r Groes... M. C.* 8, 6.

AM angeu'r groes mae canu'n awr,
Bydd eto ganu mwy
Pan gwrddo plant y gaethglud oll,
Mawr fydd eu canu hwy.

2 Trwy angeu Crist daeth i ni hedd,
A chymod trwy ei waed;
A thrwy ei glwyfau dyfnion ef
Caed i ni lawn iachad.

3 Pan ddelo'r seintiau adref oll
I Salem fawr eu son
Nid ofni mwy, ond dyblu'r mawl,
Bydd pawb i Dduw a'r Oen!

**334.** *Mor o waed. . . M. C.* 8, 6.

AGORWYD pyrth y nefoedd wiw,
Mi welaf fôr o waed;
A gallaf fi'r ffieiddia'n fyw,
Yn hollol gael glanhad.

2 O edrych arnaf, Arglwydd cu,
Mae bellach yn brydnawn:
A llanw euog sydd heb ddim
O'th nefol ddwyfol ddawn.

3 O tyr'd yn glau, mae'n gyflawn bryd,
'Rwy'n gruddfan dan fy mhoen;
Yn methu d'od i ffynon rad
Sancteiddiaf waed yr Oen.

**335.** *Ffynon gwaed yr Oen. . . M. C.* 8, 6.

AGORWYD ffynon i'n glanhau
Gan Iesu, Brenin nef;
A'i ffrydiau olcha ffwrdd ein bai
Trwy rym ei gariad ef.

2 Llawenydd sydd i lawer un
O herwydd agor hon,
Mae lle i minau lawenhau
Bod i mi roesaw llon.

3 Mi ganaf fi tra byddwyf byw
Am rinwedd gwaed yr Oen;
Ond mi gaf ganu cyn bo hir
Mewn rhyw felusach dôn.

4 'Rwy'n credu caf fi delyn aur,
Annheilwng er fy mod,
Ddarparodd Iesu er fy mwyn
I seinio'n gu ei glod.

**336.** *Ffynon Calfaria. . . M. C.* 8, 6.

DAETH ffynon goch o ddwyfol waed
O glwyfau calon friw;
All gànu'n wyn o'r pen i'r traed
Yr adyn dua'i liw.

2 Gwnaeth hon i'r lleidr seinio cân,
Pan gynt dan farwol glwyf:
A gall fy ngolchi inau'n lân,
Er mai'r aflanaf wyf.

Er pan y teimlais nefol rin
Y ffrwd risialaidd hon,
Dylifo mae, fel balm neu win,
I wella'm clwyfus fron.

**337.** *Ffynon Jacob. . . M. C.* 8, 6.

AT ffynon Jacob Iesu ddaeth,
Ac ar ei daith yn flin,
Ac yno'n fwyn eisteddai i lawr,
Fel rhyw ddyeithr ddyn.

2 Daeth yno wraig i dynu dwfr,
A'i llestr yn ei llaw;
Ond ni feddyliodd yno fod
Duw Jacob pur gerllaw!

3 Pe gwyddai hyn sychedu wnai
Am ffrydiau'r dyfroedd byw:
Yn fwyn gwrandewid ar ei llais,
Gan Geidwad dynolryw.

4 Mae'n rhaid adnabod Iesu mâd,
Neu fyw mewn bythol boen:
O deuwch, yfwch ddyfroedd rhâd,
O glwyfau a gwaed yr Oen.

## 338. *Esgyniad Crist... M. C.* 8, 6.

ESGYNODD Crist, ein Ceidwad mawr,
Goruwch y nef mae'n ben;
Heddychodd ef y nef a'r llawr,
Trwy farw ar y pren.

2 Drwy ffydd yn llon ni wnawn goffhad
Am ei esgyniad ef;
Drwy'r dysglaer byrth, aeth yr Iôr mâd
I mewn i lŷs y nef.

3 Mae yno'n eiriol drosom ni,
Ar sail ei aberth drud;
Boed iddo gael y mawl a'r bri
Gan holl dylwythau'r byd.

4 Esgynodd Crist i nef y nef,
I eiriol dros y gwan:
Fy enaid inau gyfyd ef,
I'w fynwes yn y man.

## 339. *Esgyniad Crist... M. C.* 8, 6.

PWY yw y Brenin rhyfedd hwn,
A welwn fel y wawr?
Ai Adda'r ail? ai hwn yw'r Oen
A aeth trwy boen i lawr?

2 O! byrth tragwyddol rhoddwch le,
Eneiniog ne' sy'n d'od
I'w orsedd, trefnwyd iddo, do,
Cyn seilio trefn y rhôd.

3 O feusydd Edom, dyma'r dydd,
Daw'n D'wysog rhydd i ni,
Er marw, gan ogwyddo'i ben,
Ar groesbren Calfari.

4 O! caned archangylion nef,
Holl glychau Salem lân,
"Byth, nid i ni, ond iddo ef,"
Fydd ein tragwyddol gân.

**340.** *Coroniad Crist... M. C. 8, 6.*

RHOWCH glod i enw'r Iesu gwiw,
Angylion Duw bob awr:
A choron hardd coronwch ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

2 Seraphiaid gwych y nefol lys,
Plygwch ar frys i lawr
A newydd gân coronwch ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

3 Merthyron llawn o sêl didrai,
A seintiau y Duw mawr;
A pheraidd glod, coronwch ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

4 Yn nghyd â'r dorf angylaidd fry,
Plygwn yn llu i lawr;
Mewn peraidd gân coronwn ef,
Yn Llywydd nef a llawr.

5 Pob llwyth ac iaith, hil Adda i gyd,
Trwy'r holl gwmpas-fyd mawr;
O deuwch a chyhoeddwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

**341.** *Coroniad Crist.* . . *M. C.* 8, 6.

DERCHAFER enw Iesu cu
Gan seintiau is y nen,
A holl aneirif luoedd nef
Coronwch ef yn ben.

2 Pob perchen anadl yn mhob man,
Dan gwmpas haul y nen,
Ar för a thir, mewn gwlad a thref,
Coronwch ef yn ben.

3 Na enwer enw neb ond Hwn
Fu farw ar y pren;
Drwy'r ddaear faith, nac yn y nef,
Coroner ef yn ben.

**342.** *Digonolrwydd Crist.* . . *M. C.* 8, 6.

NIS gall angylion pur eu dawn,
A'u haml ddoniau hwy;
Fyth osod allan haeddiant llawn,
Anfeidrol ddwyfol glwy'.

2 Ni welaf wrthrych mewn un man,
O'r ddaear faith i'r ne',
A dâl ei garu tra f'wyf byw,
Yn unig ond efe.

3 Eisteddais dan ei gysgod ef,
A'i ffrwyth oedd felus iawn;
Ac yma treuliaf ddyddiau f' oes,
Byth, byth, yn ddedwydd iawn.

4 Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur ac heb drai;
A'i drugareddau hyfryd sy'
'N dragwyddol yn parhau.

5 Cyflawnder nerth, cyflawnder gras,
Cyflawnder nef y nef;
Uwch deall Seraphim a saint,
Sy'n trigo ynddo ef.

6 Mae yn ei haeddiant bethau mwy
Nag fedd y byd yn un;
A phrawf o'i gariad ydyw'r fraint
Oruchaf gafodd dyn.

**343.** *Crist yn rhagori. . M. C.* 8, 6.

AT wedd dy wyneb nid yw ddim,
Drysorau maith y llawr,
Mae gair o'th enau'n llawer mwy
Ei rym nag uffern fawr.

2 Os edrych wnaf i'r Dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r De',
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
'Does debyg iddo fe.

3 Ni feddaf ar y ddaear lawr,
Ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery'n anwyl im',
Yn unig ond efe.

4 Mae ynddo ei hunan drysor mwy,
Nag fedd yr India lawn;
Fe brynodd i mi fwy na'r byd,
Ar groesbren un prydnawn.

5 O na allwn rodio er ei glod,
Ac iddo bellach fyw;
A threulio mywyd gyd â blas,
I ganmol gras fy Nuw.

**344.** *Crist fel ei frodyr.* . . *M. C.* 8, 6.

TAD tragwyddoldeb—rhyfedd yw!
Y cadarn Dduw yn ddyn—
Wnaed fel ei frodyr yn mhob man:
Bu'n faban gwan ei hun.

2 Gorweddodd, do, mewn preseb gwael,
O olud hael ei hedd;
Bu fyw dan wawd, bu farw'n drist,
Fe'i claddwyd yn y bedd.

3 Ond drylliodd byrth y carchar caeth,
Nis gall marwolaeth mwy,
Na Satan chwaith, byth gadw'n ol
Ddybenion marwol glwy'.

**345.** *Llais y Durtur.* . . *M. C.* 8, 6.

MAE durtur yr efengyl fwyn,
Yn galw bro a bryn;
Doed torf aneirif tua'r wlad,
Gyd â'r awelon hyn.

2 Fe ddaeth y Jubil werthfawr lawn,
Ar ol och'neidio'n hir;
Ac mi ge's weled hyfryd ran,
O'r baradwysaidd dir.

3 Fe wnaeth ei babell yn ein plith,
A'i bresenoldeb sy'
Yn troi pob cystudd chwerw loes,
Yn hyfryd hedd i ni.

4 Darfydded dydd, darfydded nos,
Fel mynyd bach o'r awr;
Tra b'wyf yn caru a rho'i mhwys
Ar fynwes f' Arglwydd mawr.

5 Dymunwn yma dreulio'm hoes,
O foreu hyd brydnawn;
Lle cawn i wylo cariad pur,
Yn ddagrau melus iawn.

**346.** *Llwyddiant yr efengyl. . . M. C.* 8. 6.

MAE clywed newydd am y gwaed,
Fu'n llifo ar Galfari;
Yn un o'r breintiau mwyaf gaed,
Ar hyd ein daear ni.

2 Dysgwyl yr ydym wel'd yr awr,
Boreuddydd Jubili;
Pan ddelo holl derfynau'r llawr,
I garu'n Harglwydd ni.

3 Ac O! na ddeuai'r ddaear faith,
I gredu yn y gwaed,
A dynion o bob llwyth ac iaith,
I blygu wrth ei draed.

4 I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Rhown fawl ar gân i gyd;
Sain Haleluia fo 'mhob man,
Trwy bedair rhan y byd.

**347.** *Helaethiad Teyrnas Crist. . . M. C.* 8, 6

O DOED teyrnasoedd byd yn rhwydd
Yn eiddo'n Harglwydd ni;
Trwy'r ddaear caner heb nacâu
Am angeu Calfari.

2 O Iesu cymer d' allu mawr,
Teyrnasa'n awr mewn nerth,
Gyr y tywyllwch du ar ffo,
A phawb a welo'th werth.

3 Gwregysa'th gleddyf ar dy glun,
O Gadarn Un yn awr;
Mewn llwyddiant marchog îs y rhod,
Ti wyt i fod yn fawr.

4 Mi welaf wawr yn codi draw,
Yn fuan daw y dydd,
Yn mhob rhyw le o'r ddaear lawr
Yr Iesu'n fawr a fydd.

**348.** *Gofyn yr Ysbryd... M. C.* 8, 6.

DUW, anfon di yr Ysbryd Glan,
Yn enw Iesu mawr,
A'i weithrediadau megys tân,
O deued Ef i lawr.

2 Yn ol d' addewid fawr ei gwerth,
O tywallt oddi fry
Dy Ysbryd Sanctaidd, gyda nerth,
I weithio arnom ni.

3 O'i wir ewyllys deued Ef
I argyhoeddi'r byd,
Ac arwain etifeddion nef,
Trwy'r anial maith i gyd.

4 Yn ol d' addewid Iesu mawr,
Yr awrhon anfon di,
Y gwir Ddyddanydd doeth i lawr,
I aros gyda ni.

**349.** *Arweiniad yr Ysbryd.. . M. C.* 8. 6.

TYR'D Ysbryd Sanctaidd, ledia'r ffordd,
Bydd i mi'n niwl a thân:
Ni cherdda' i'n gywir haner cam,
Nes byddi o fy mlaen.

2 Mi wyraf weithiau ar y dde',
Ac ar yr aswy law;
Am hyny arwain gam a cham,
Fi i'r Baradwys draw.

3 Ddiffygiai ddim er c'yd fy nhaith,
Tra paro gras y ne';
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo fe.

4 Anghyfnewidiol gair y ne',
Ond cyfnewidiol fi;
Am hyn mi safaf doed a ddel,
Mae'r afael sicraf fry.

**350.** *Iachawdwriaeth lawn...* *M. C.* 8, 6.

MAE'R iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae yma ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

2 'Does yma eisiau byth yn bod,
Trysorau gras yn llawn:
Er maint yr yfed a'r glanhau,
O fore hyd brydnawn.

3 Mae yma drugareddau rhad,
I'r tlawd a'r llariaidd rai;
A rhyw fendithion maith yn 'stor,
Sy' fythol yn parhau.

4 Awn bechaduriaid at y dw'r,
A darddodd ar y bryn;
Ac ni gawn ddrachtio byth heb drai,
O'r afon loyw hyn.

**351.** *Cysur yn Nghrist. . . M. C.* 8. 6.

MI dafla' maich i lawr i gyd,
Trwy rinwedd dwyfol loes;
Euogrwydd fel mynyddau'r byd
Dry'n ganu wrth dy groes.

2 Fe rodd ei ddwylaw pur ar led,
Fe wisgodd goron ddrain,
Er mwyn i'r brwnt gael bod yn wyn,
Fel hyfryd lïan main.

3 Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r Tad,
Ar orsedd fawr y nef:
Ac y mae pob peth sydd mewn bod,
Dan ei awdurdod ef.

4 Dod yn ein genau fawl ar g'oedd,
Ac yn ein hysbryd dân;
Ac yn mheryglon anial dir,
Erfyniau pur a chân.

5 Mae canu heddyw am y gwaed
Yn nghanol nefoedd fry;
A rhodio yn ei gariad rhad
Y mae aneirif lu.

**352.** *Ymddifyru yn Nghrist. . . M. C.* 8, 6.

IESU, difyrwch f' enaid drud,
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau d' enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

2 A than dy aden dawel bur,
'Rwyf yn dymuno byw;
Heb ymbleseru fyth mewn dim,
Ond cariad at fy Nuw.

3 'D oes genyf ond dy allu mawr,
I'm nerthu i fyn'd y'mlaen;
Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest a fy nghân.

**353.** *Pwyso ar Iesu. .. M. C.* 8, 6.

DARFYDDED son am bleser mwy,
Yn agos ac yn mhell;
Fel gallwyf yfed dyfroedd pur,
O ffynon lawer gwell.

2 O cau fy llygaid rhag im' wel'd
Pleserau gwael y byd,
Ac i mi wyro byth oddiar
Dy lwybrau gwerthfawr drud.

3 Byth gorfoledda f' enaid mwy,
Dy briod yw dy Dduw;
Mwy ydyw rhinwedd marwol glwy',
Na phechod o un rhyw.

4 'D â'i mofyn haeddiant byth, na nerth,
Na ffafr neb na'i hedd,
Ond hwnw'n unig gwyd fy llwch,
Yn fyw i'r làn o'r bedd.

**354.** *Cred yn unig. . M. C.* 8, 6.

FY enaid cred, yn unig cred
Yn Iesu mawr ei hun;
Mae pob cyflawnder ynddo ef
Er maint yw eisiau dyn.

2 Mae'n rhoi yn hael i rai heb ddim
'Rwy'n un o'r cyfryw rai;
Ymnertha f' enaid yn y gras
Sydd ganddo yn parhau.

3 Er ofni marw trwy fy oes,
  Mi bwysaf ar ei air;
Yr hwn a gredo ynddo ef,
  Er marw, fe'i bywheir.

**355.** *Na wrthod fi. . . M. C.* 8, 6.

AT un a wrendy gŵyn y gwan,
  'Rwyf yn dyrchafu 'nghri,
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
  O Dduw, na wrthod fi.

2 Er mor annheilwng o fwynhau
  Dy bresenoldeb di,
Gâd i mi nesu ger dy fron,
  O Dduw, na wrthod fi.

3 Pan fo fy ngheraint is y nen,
  Yn cefnu arna'i'n rhi,
A'm holl gyfeillion yn pellhau,
  O Dduw, na wrthod fi.

4 Er mwyn dy ufudd angeu drud
  Ar fynydd Calfari,
A'th fwyn eiriolaeth yn y nef,
  O Dduw, na wrthod fi.

5 Pan yn wynebu tònau'r hen
  Iorddonen ddofn ei lli',
I deithio'n unig drwy y glyn,
  O Dduw, na wrthod fi.

6 A phan y deui yr ail waith,
  Mewn mawredd, parch, a bri,
I farnu'r byw a'r meirw 'nghyd,
  O Dduw, na wrthod fi.

**356.** *Penderfyniad y Cristion*. . *M. C.* 8, 6.

'RWY'N morio tu a chartre'm Nêr,
Rhwng tonau maith yn byw;
Yn ddyn heb neges dan y sêr,
Ond 'mofyn am ei Dduw.

2 Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro i'n ol,
A minau d' wyf ond gwan;
O cymer, Iesu, fi'n dy gôl,
Yn fuan dwg fi i'r lan.

3 A phan fo'n curo f' enaid gwan,
Elynion rif y sêr:
Dyrchafa'm hysbryd llesg i'r lan,
I fynwes bur fy Nêr.

4 O gwna fy nghalon redeg trwy
Oll, atat ti dy hun;
Na bo difyrwch genyf mwy,
Mewn daear, da, na dyn.

5 Na âd fi ar aswy nac ar dde',
I redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin ne',
Trwy ddyfnder dwr a thân.

**357.** *Fy Nhad wrth y llyw*. . . *M. C.* 8, 6.

AR fôr tymhestlog teithio 'rwyf
I fyd sydd well i fyw,
Gan wenu ar ei 'stormydd oll,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

2 Er bod yn awr o dòn i dòn,
Nes ofni bron cael byw,
Diangol ydwyf hyd yn hyn,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

3 Ac os oes 'stormydd mwy yn ol,
  Yn nghadw gan fy Nuw,
Wynebaf arnynt oll yn hy',
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

4 Pan fo eu hymchwydd yn cryfhau,
  Fy Angor sicr yw;
Mi ddof yn ddiogel drwyddynt oll,
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

5 I mewn i'r porthladd tawel clyd,
  O swn y 'storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon ryw ddydd,
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

**358.** *Pren y bywyd... M. C.* 8, 6.

MAE pren y bywyd wedi'i gael
  Wrth law mewn anial dir,
Yn plygu'i frig er cymhell pawb
  I fwyta'i ffrwythau pur.

2 Pan ddelo misoedd cystudd oer
  Ceir ffrwyth ar hwn o hyd;
A dail y pren all lwyr iachau
  Ein holl ddoluriau gyd.

3 Tu yma'r afon os mor dda
  Yw'r ffrwyth ar Iesu gawn,
Yr ochr draw fe fydd yn well,
  Yn well o lawer iawn.

**359.** *Sail gweddi'r ffydd... M. C.* 8, 6.

O AED yn awr i'r nef fy nghwyn
  Yn enw'r addfwyn Oen;
At Dduw a ddichon drugarhau,
  Er maint fy ngwae a'm poen.

2 O flaen y drugareddfa fawr
Boed hysbys 'nawr fy nghri;
Fy enaid gwel, ceir hedd i'r gwan
Drwy angeu Calfari.

3 Ni chais yr enaid cywir byth,
Ond gair dilyth ei Dduw;
A dyna'r oll, mewn ofnau prudd,
Sydd gan ei ffydd i fyw.

## 360. *Grym gweddi... M. C.* 8, 6.

AGORODD gweddi'r ffydd cyn hyn,
Garcharau heiyrn a phres;
Diddymodd amcan uffern fawr,
Trodd wenwyn hono'n lles.

2 Mae'n cau, mae'n agor nef yn un,
Mae'n medru'r ffordd at Dduw:
Gwrandewir llais ochenaid ffydd
Tan gystudd o bob rhyw.

3 O ganol ing, o eigion môr,
Mae'n agor porth y nef,
O fol y morfil mawr, yn wir,
Gwrandewir ar ei llef.

4 Ehed, a'i golwg ar y gwaed,
Trwy dew gymylau'r nen,
A dwg i'r euog wir ryddhad,
A modd i godi'i ben.

## 361. *Hyder mewn gweddi... M. C.* 8, 6.

ANTURIAF at orseddfainc gras,
Dan eithaf tywyll nos;
Ac ymddiriedaf, doed a ddel,
Ar haeddiant gwaed y groes.

2 Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan;
O cyfod bellach f' enaid prudd,
Anadla tua'r lan.

3 Ac anfon eirchion aml ri',
I mewn i byrth y nef;
Gwrandewir pob amddifad gri,
Yn union ganddo ef.

4 Myfi anturiaf 'nawr y'mlaen,
Ar alwad daer y Ne',
Gan fod perffeithrwydd mawr y groes,
Yn ateb yn fy lle.

**362.** *Hyder y Pererin... M. C.* 8, 6.

MAE'N eistedd rhwng cerubiaid fry,
Marchoga nef y nef;
Seraphiaid iddo'n plygu sy'
Gerbron ei droedfainc ef.

2 Hwn yw fy Rhan, medd f' enaid mwy,
Fy Mhrophwyd a fy Mhen,
Fy Archoffeiriad gynt ga'dd glwy',
Fy Mhriod is y nen.

3 Fy Seren Foreu eglur yw,
Fy Heulwen oleu dêr,
Fy Nghraig, fy Nhŵr, fe'm ceidw'n fyw,
Fy Nodded yw fy Nêr.

4 Fy unig Wisg i guddio'm gwarth,
Fy Aberth ar y pren,
Fy hoff Arweinydd drwy bob parth,
Nes 'hedwyf uwch y llen.

**363.** *Noddfa ddiogel...M. C.* 8, 6.

NI welaf noddfa mewn un lle,
Na gobaith o un tu,
Ond yn nghyfryngdod Brenin ne',
I'm diogelu i.

2 Er maint y llu a'r tonau sydd
Yn curo f' enaid gwan,
Diangol ddof i'r lan ryw ddydd,
Mae Iesu ar fy rhan.

3 Ac, bellach, tra bo ynof chwyth,
Yr Iesu fydd fy nghân;
A than ei aden gwnaf fy nyth,
Nes myn'd i'r nef yn lân.

**364.** *Yr Iachawdwriaeth...M. C.* 8, 6.

O'R Iachawdwriaeth rasol gu,
Sy'n llifo i deulu'r llawr,
I Sïon deg mewn anial dir,
A welir "fel y wawr."

2 Yr Iachawdwriaeth werthfawr fâd,
O gariad i ni gaed,
I Dduw rho'wn fawl yn rhwydd bob rhai,
Fe gafwyd iawnol waed.

3 'Does terfyn ar fendithion Iôr,
Nid y'nt fel moroedd mawr,
Ac y mae mwy, oes yn ei glwy'
Nac angen lluoedd llawr.

4 Yn hon mae modd i'n golchi i gyd,
A'n dwyn i'r Ganaan glyd,
I foli'r Oen heb friw na phoen,
'Nol terfyn dyddiau'r byd.

**365.** *Cofia fi...M. C.* 8, 6.

PECHADUR wyf, y dua'n fyw,
Trugaredd yw fy nghri;
Gostwng dy glust, a'm llefain clyw,
O Arglwydd, cofia fi.

2 Y mae tosturi fel y môr,
Heb fesur ynot ti;
O'th ras sy'n annherfynol stôr,
O Arglwydd, cofia fi.

3 Boddlonodd Crist y nef yn llawn,
Ar fynydd Calfari;
Er mwyn ei berffaith ddwyfol iawn,
O Arglwydd, cofia fi.

4 Tra b'wyf yn teithio anial wlad,
Yn mysg gelynion lu,—
Wrth eiriol fry gerbron y Tad,
O Arglwydd, cofia fi.

5 Wrth rodio'r hen Iorddonen gas,
Na soddwyf yn y lli';
O dan ddyrnodiau angeu glas,
O Arglwydd, cofia fi.

6 Pan ddelo'r saint i'r lan o'r bedd,
Yn moreu'r Jubili,
I'm codi'n berffaith ar dy wedd,
O Arglwydd, cofia fi,

**366.** *Digon erbyn angeu...M. C.* 8, 6.

PAN delo angeu yn ei rwysg,
I dori f' oll i lawr,
Fy unig noddfa werthfawr fydd,
Yn fy Ngwaredwr mawr.

2 Fe saif cyfamod pur y nef,
Pryd hyny yn ei rym,
Pan bo pob cysur is y nef,
Wedi diflanu'n ddim.

3 O gad im' mewn tangnefedd pur,
Roi'm hanadl ola' i maes,
Ac mewn gorfoledd hwylio dros
Y cefnfor garw glas.

4 A myn'd tan ganu tua'r wlad,
Bwrpaswyd i mi fyw,
Ac wedi gado 'mhell o'm hol,
Gystuddiau o bob rhyw.

**367.** *Gorphwysiad yn y bedd.. M. C.* 8, 6.

MOR ddedwydd yw y rhai trwy ffydd
Sy'n myn'd o blith y byw;
Eu henwau'n perarogli sydd,
A'u hûn mor dawel yw.

2 Ar ol eu holl flinderau dwys
Gorphwyso maent mewn hedd,
Yn mhell o swn y byd a'i bwys,
Heb boen yn llwch y bedd.

3 Llais un gorthrymydd byth ni ddaw
I'w deffro i wylaw mwy;
Na phrofedigaeth lem na chroes,
Un loes ni theimlant mwy;

**368.** *Diolch am y Cynauaf... M. C.* 8, 6.

TAD pob trugaredd, Arglwydd byw,
Yw nawdd trueiniaid gwael;
Pa beth yw dyn i ti, O Dduw,
Pan gofit ef mor hael?

2 Er bygwth barn am feiau'n gwlad,
Ti roist ymwared clau;
O bydded yr ymweliad rhad
Yn arbed i'n gwellâu.

3 Mae'th drugareddau yn ddiball
Yn llanw'r ddaear faith;
Nid oes na dyn na dawn a all
Eu dweyd na'u rhifo chwaith.

4 Yr hwn sy'n gwrando gweddi dyn
Annheilwng is y nef,
Yr hwn sy'n para byth yr un,
Clodforwch, molwch Ef.

**369.** *Diolch am y Cynauaf. . . M. C. 8, 6.*

TOSTURI Duw sydd yn ddi-gel,
A'i gariad fel y môr;
Gwrandawodd gŵyn trueiniaid gwan
O'i lŷs, anfeidrol Ior.

2 Er mor annheilwng oeddym ni
Eleni yn ei law,
Arbedodd ef, caed bwyd i ddyn,
Fe droes y newyn draw!

3 O'i dirion law y gwlaw a'r gwlith
Ai'n fendith i'r holl fyd;
Ei hen gyfamod gyda dyn
Mewn hedd sy'r un o hyd.

4 A chalon glau dychwelwn glod
Yn lân i'r Bod dilyth,
A cheisiwn oll o ras ein Nêr
Y Bara bery byth.

**370.** *Agoriad Addoldy... M. C.* 8, 6.

TEILYNGA edrych, Arglwydd da,
O'th breswyl fry i lawr,
Ar godiad yr adeilad hon,
Yn dŷ i'th enw mawr.

2 Bid yn wiw genyt yma roi
Dy goffadwriaeth gun;
Ac ar dy bobl o bryd i bryd,
Dy fendith hael dy hun.

3 Dy eglwys fo dan driuiaeth dda,
Fel gardd yn lân heb chwỳn;
Yn helaeth gweler ffrwythau gras,
O fewn y muriau hyn.

4 Pâr felly gynal yma'n bur
Athrawiaeth fawr y groes;
Y rhyddid i gyhoeddi hon,
Parhaed o oes i oes.

**371.** *O flaen Pregeth.. M. C.* 8, 6.

O FRENIN nef a daear lawr,
Mor werthfawr yw dy wedd;
Rho i ni brawf ar hyn o bryd
O'th nefol hyfryd hedd.

2 Goleua di ein deall gwan
Yn mhob rhyw ran o'th waith;
Datguddia 'nawr i'th anwyl blant
Dy fawr ogoniant maith.

3 O cryned, Arglwydd, ger dy fron,
Dy holl elynion cas;
A llwydda hefyd yma 'nawr,
Wirionedd mawr dy ras.

**372.** *Dechreu odfa... M. C.* 8, 6.

GWEL f' enaid llesg ar làn y llyn,
Yn gofyn am dy gael;
Tyr'd Iesu da, cynhyrfa'r dwr,
Er gwella 'nghyfiwr gwael.

2 Wrth ddrysau moddion cryfion gras,
Er mor anaddas wyf,
I ddysgwyl gair oddiwrth fy Nuw,
'Rwy'n meddwl byw tra b'wyf.

3 O maddeu 'mai, a chliria 'n llwyr,
F' euogrwydd oll i gyd;
Ac na'd im' flino d' Ysbryd mwy
Tra byddwyf yn y byd.

**373.** *Sabbothau... M. C.* 8, 6.

MOR felus hoff i'm henaid yw
Y dyddiau dedwydd hyn;
Blaenbrawf a ro'nt o'r Sabboth fry,
Gaf fyth ar Sïon fryn.

2 Dysgwyliaf, Iesu, wrth dy byrth,
Am glywed swn dy draed;
A chanu wnaf tra ar y ffordd
I'r hyfryd nefol wlad.

3 I'm parotoi mae'r dyddiau hyn,—
A phan yn berffaith b'wy',
Bydd i'r Sabbothau hyn fy nwyn
I orphwys yno mwy.

**374.** *Galwad ar ieuenctyd... M. C.* 8, 6.

IEUENCTYD llon, at Grist, O dewch,
Rhowch arno Ef eich bryd;
Wrth ei was'naethu chwi a gewch
Yr harddwch mwya' i gyd.

2 Prydferthwch daear o bob rhyw,
Llewyrchiad gwan a rydd;
Duwioldeb bore, hoffaf yw,
O bob golygfa sydd.

3 Gwel'd ieuanc uu yn dilyn Crist
Yw 'r olwg harddaf oll;
Y nef a'r ddaear sydd yn dyst
O'i degwch gwir di goll.

4 Cael crefydd iawn yn more 'r oes
'Rydd gysur mawr wrth fyw,
A dwg ei pherchen er pob croes
Fry i baradwys Duw.

**375.** *Swper yr Arglwydd... M. C.* 8, 6.

O COFIWN Air ein Iesu mawr,
Y gair a dd'wedodd E';
Gwnewch hyn er cof am danaf fi,
Fu farw yn eich lle.

2 Fy nghnawd a'm gwerthfawr waed yn wir
Sydd wledd ysbrydol wiw,
Bwytewch ac yfwch bawb o hwn,
Fe'ch ceidw byth yn fyw.

3 Os na chawn wledda eto 'n nghyd,
Yn hyn o anial wlad,
Hoff wledda gawn mewn gwlad sydd well
Byth fry yn nhŷ ein Tad.

**376.** *Y Nefoedd... M. C.* 8, 6.

MAE 'n hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
Ar ol ein holl flinderau dwys,
Cawn orphwys yn y ne'.

2 Pan ar ddiffygio gan y daith
A lludded maith y lle,
Mor hoff yw gwybod—wedi hyn,
Cawn orphwys yn y ne'.

3 Er colli ein cyfeillion hoff
Yn yr Iorddonen gref,
Mae 'n felys meddwl—eto 'nghyd
Cawn gwrddyd yn y nef.

**377.** *Etifeddiaeth y Plant... M. C.* 8,

PLANT ydym eto dan ein hoed
Yn dysgwyl am y stâd;
Mae 'r etifeddiaeth ini 'n dod
Wrth Destament ein Tad.

2 Mae gwlad o etifeddiaeth deg
Yn aros pawb o'r saint,
Ni ddichon dyn nac angel byth
Amgyffred gwerth eu braint.

3 Cyd-etifeddu gaiff y plant
A Christ etifedd nen,
Cânt balmwydd gwyrddion yn eu llaw
A choron ar eu pen.

4 O fewn y baradwysaidd fro,
O gyrhaedd angeu glas,
Tragwyddol bwys gogoniant fydd
Ar etifeddion gras.

**378.** *Gweled heb ddrych... M. C.* 8, 6.

ER maint a glywais gan bob dawn
Am Grist o bryd i bryd,
Yr haner ni fynegwyd im';
Mae 'n hawddgar oll i gyd.

2 Gwyn fyd y rhai drig yn ei dŷ,
Heb fyned allan mwy;
Nid oes neb byth all adrodd maint
Eu hedd a'u gwynfyd hwy.

3 Ond O! beth fydd yr olwg wych
Geir yn y gwynfyd pell,
Wrth edrych arno heb un drych,
Yn llewyrch gwlad sydd well.

**379.** *Hiraeth am ryddhad...M. C.* 8, 6.

'RWY 'n edrych dros y bryniau pell,
Am danat, Iesu mawr:
O tyr'd f' Anwylyd, mae 'n hwyrhau,
A'm haul bron myn'd i lawr.

2 Tebygwn pe bai nhraed yn rhydd
O'r blin gaethiwed hyn,
Na wnawn ond canu tra fawn byw
Am ras Calfaria fryn.

3 Mae dyddiau gruddfan i mi'n hir,
Caethiwed Babel fawr;
O na chawn deimlo 'r Jubil fwyn,
Yn agor dorau 'r wawr.

4 Pererin wyf mewn anial dir,
Yn crwydro yma a thraw;
A dysgwyl 'r wyf o awr i awr,
Fod tŷ fy Nhad gerllaw.

5 Mae arnaf hiraeth am y wlad,
Lle mae torfeydd diri';
Yn canu 'r anthem i barhau,
Am angeu Calfari.

**380.** *Undeb y Gwaredigion. . . M. C.* 8, 6.

MAE brodyr i mi aeth yn mlaen,
Yn holl-iach a chytun:
Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

2 Mae pawb o'r brodyr yno 'n un,
Heb neb yn tynu 'n groes,
Yn moli 'r Duwdod yn y Dyn,
A chofio angeu loes.

3 Ni theimlir yno unrhyw boen,
Na chwyno gan un clwy';
Ond pawb mewn hwyl yn moli 'r Oen,
I dragwyddoldeb mwy.

4 Daw 'r holl dduwiolion yno 'nghyd,
O'r gogledd, dê, heb ri';
A'u holl gadwynau 'n chwilfriw mân,
A'u cân am Galfari.

**381.** *Cariad Crist. . . M. C.* 8, 6.

WEL, dyma gyfoeth gwerthfawr llawn,
Uwch holl drysorau 'r llawr,
A roed i'w gadw oll yn nghyd,
Yn haeddiant Iesu mawr.

2 Ei gariad lifodd ar y bryn,
Fel moroedd mawr di-drai;
Ac fe bwrcasodd yno hedd
Tragwyddol i barhau.

3 Ei gariad bery pan fo'r byd
A'r heulwen fawr yn ddim:
Ac nid oes gariad yn y byd
Gyffelyb yn ei rym.

4 PAN syrthio 'r sêr fel ffigys îr,
Fe bery gras fy Nuw,
A'i faith ffyddlondeb tra fo nef;
Anghyfnewidiol yw.

BYRDWN:

Boed tragwyddol barch a moliant
Byth i Frenin y gogoniant:
Ar ei 'fengyl wen bo llwyddiant,
I ddwyn heddwch, i ddwyn heddwch,
I derfynau eitha'r byd.

**382.** *Ymgnawdoliad Crist. . .M. C.* 8, 6.

YN mhlith holl ryfeddodau 'r nef,
Hwn yw y mwyaf un—
Gwel'd yr anfeidrol ddwyfol FOD
Yn gwisgo natur dyn.

2 Ni chaiff fod eisiau fyth na thrai,
Tra seren yn y nef,
Ar neb o'r rhai a ro'nt eu pwys
Ar ei gyfiawnder Ef.

3 Doed y trueiniaid yma 'nghyd
Yn lluoedd heb ddim rhi':
Cânt eu diwallu oll yn llawn
O ras y nefoedd fry.

4 Fe ylch ein beiau ffwrdd â'i waed,
Fe 'n càna oll yn wyn;
Fe 'n dwg o'r anial maith i maes,
I ganu ar Sïon fryn.

BYRDWN:

Mae ynddo drysor fel y cefnfor,
Byth ni cheisiaf ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor;
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith,
Yw mwynhau ei ddwyfol hedd.

**383.** *Gorseddfainc gras... M. C.* 8, 6.

ER maint fy llygredd o bod rhyw,
Er cymaint yw eu rhif,
Ac er fy nwydau cyndyn chwith,
Sy'n para fyth yn gryf;

2 Af at yr orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd gras,
Dadguddiaf yno 'nghlwyfau maith,
A'm holl archollion cas.

3 Mi welaf lu anfeidrol wyn,
Yn aml fel y sêr,
A fu fel finau oll yn frwnt,
Yn bur yn nghwmni'm Nêr.

4 Wel, minau 'r eiddil gwana'i lun,
Heb ddim ond ffiaidd friw,
Anturiaf at drysorau 'r nef,
Cyfiawnder pur fy Nuw.

BYRDWN:

Afon loyw redodd allan,
O dan drothwy 'r nef ei hunan,
I olchi 'r euog, i olchi 'r aflan;
Haleluia, Haleluia,
Dwfr heb ddarfod, dwfr heb drai.

**384.** *Etifeddiaeth y credadyn... M. C.* 8, 6.

Y CWBL a feddaf oll yn un,
O entrych nef i lawr,
A roed i gadw i gyd dan sêl,
Yn haeddiant Iesu mawr.

2 Mae yma ffynon sy'n glanhau
Budreddi brwnt yn lân,
A hyfryd olcha 'r ffiaidd cas,
Yn loyw fel y gwlân.

3 'Does unrhyw gyflwr îs y nef,
  A glyw'd am dano sôn,
Y pwysa 'i anwireddau fwy
  Na gwerthfawr waed yr Oen.

4 Maddeuant rhad sydd ynddo 'n llawn,
  I'r cystuddiedig rai;
Mae 'r haeddiant fry yn clirio 'n lân
  Bob rhyw aneirif fai.

BYRDWN:

Dowch ac yfwch o'r bendithion,
Sydd yn llifo fel yr afon,
O Galfaria maes yn gyson;
  Maith gyflawnder, maith gyflawnder,
Heb na therfyn byth na thrai.

**385.** *Awelon adfywiad... M. C. D.*

AWELON pêr dros fryn y groes,
  Adfywia'r oes yn awr;
Golygfa lawn ar angeu loes
  I'th eglwys moes, Dduw mawr;
A lladd ein bai, llinara 'n pla,
  Adfywia ni yn llawn;
Ein gwrthnysigrwydd, Iôn, iacha,
  A chrëa ni yn iawn.

2 Cyfodwn oll wylofus lef
  Am wlith o'r nef i lawr,
Ar eglwys Dduw, ei winllan ef,
  Gwywedig yw ei gwawr;
Adfywiad mawr, llewyrchiad lles,
  O doed y gwres yn gry',
Er gwŷwo llygredd, Arglwydd, nes
  I fynwes plant dy dŷ.

**386.** *Golwg hyfryd ar Sion... M. C. D.*

FE welir Sïon fel y wawr,
Er tloted yw ei gwedd,
Yn d'od i'r làn o'r cystudd mawr
'N ol agor pyrth y bedd;
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn ddysglaer fel yr haul,
Yn y cyfiawnder dwyfol pur,
A wnaed gan Adda 'r ail.

2 Yn awr i'r Tad, mewn cariad cu,
Yr hardd gyflwynir hon,
Heb arni un brycheuyn du,
Yn briodasferch lòn:
Dadseinia 'r holl ëangder fry,
Gan ryw soniarus lef,
Pan fyddys yn ei harwain hi
I mewn i lŷs y nef.

**387.** *Y wisg oreu. M. C. D.*

FE welir etifeddion ffydd,
Yn deulu dedwydd doeth;
A chanddynt wisgoedd i barhau,
Am eu heneidiau noeth;
Gwisg o gyfiawnder gwyn a glân,
Nod aflan dim nid oes;
O waith Iachawdwr mawr y byd,
O'i gryd i bren y groes.

2 Hon ydyw 'r wisg ddigymysg waith,
Gywrein-waith goreu erioed:
Aeth Crist i'w chael drwy waed a chwys,
Mawl iddo 'n barchus boed;
Pwrcasodd Iesu hon yn ddrud,
Wrth ddyoddef llid yn llym;
Yn rhad i bechaduriaid gwael,
Mae 'n awr i'w chael am ddim.

3 Mae 'r hwn a gaffo ei wisgo 'n hon,
Yr ochr hyn mewn hedd;
Ni chwrdd a niwed mewn un màn,
Oddiyma i làn y bedd:
Pan yn wynebu angeu 'i hun,
Heb golyn gyd âg ef,
Ei ben a gedwir uwch y dòn,
Er grym yr afon gref.

**388.** *Gobaith y Pererin... M. C. D.*

TRA yn y dyrys anial dir,
'R wy' mhell o dŷ fy Nhad;
Fy ngolwg cadw Iesu pur,
Yn gywir tua 'r wlad:
O dyro i mi nerth trwy ffydd
I ddringo 'r creigydd serth;
Nes d'od o'r diwedd i dy wydd,
Breswylydd mawr y berth.

2 Ac yna 'n hardd yn mhlith y llu,
Ddaeth maes o'r cystudd mawr,
Caf wel'd dy wyneb dedwydd di,
A'th foli bob yr awr;
Lle ni ddaw yno elyn mwy,
I ro'i im' glwy' na briw,
Caiff f' enaid lawn hyfrydol hedd
Dros fyth yn ngwedd fy Nuw.

**389.** *Llwyddiant yr Efengyl... M. C. D.*

AED yr Efengyl bur ar led,
Trwy barthau 'r byd o'r bron,
Boed llwyddiant trwy deyrnasoedd cred,
Lle mae pregethiad hon;
Fel delo miloedd eto i ma's,
O'r t'wyllwch cas sy'n byw,
Trwy 'r India draw, ac Asia fras,
I ganmawl gras ein Duw.

2 Aed sain yr udgorn arian mawr
Yn mlaen trwy 'r anial dir,
Fel delo 'r werin gyd a'r wawr
I ymofyn am y gwir:
Helaetha 'th babell 'r ochr hyn,
Estyn gortynau i ma's;
O oes i oes, tra paro'r byd,
Bydd canmawl golud gras.

3 Aed mawl a gweddi 'r saint i'r lan,
Fel pêr aberthau byw;
A boed serchiadau Sïon wan
Ar dân yn moli Duw;
Mewn gemwaith aur bydd hon cyn hir,
Heb dristwch, cur, na phoen,
Yn canu am goncwest fawr a gaed,
Trwy werthfawr waed yr Oen.

**390.** *"Er cof am danaf fi."* .. *M. C. D.*

YN ol dy rasol anwyl air,
I'r llwch a'r lludw 'r âf,
Tra yn bechadur yno 'm cair
A'th gynes gofio wnaf;
Y corph fu droswyf dan y dûr
Fydd fara i'm henaid i,
A'th waed fydd mwy fy niod bur—
Fel hyn y cofiaf di.

2 A ddaw i'r ardd byth mwy fy nhraed
I wrando yno 'th gri,
A gwel'd dy ing a'th chwys a'th waed,
Ac heb dy gofio di!
Tydi yn marw, minau 'n fyw!
Tydi a'th waed yn lli';
O Oen fy aberth! Oen fy Nuw!
Rhaid im' dy gofio di!

**391.** *"Er cof am danaf fi."*.. *M. C. D.*

DYWEDAIST wrthyf—yn fy ngwaed
"Bydd fyw, druenus un;
Y gair mor ddrud i tithau gaed
A'th galon-waed dy hun,
Cymeraist phiol llid y Tad,
Troist hono 'n win i mi!
O pwy nacâi 'r fath drafferth râd
A "hyn" i'th-gofio di.

2 A gofiaf di, a'th gariad pur,
A'th boenau drosof fi?
Tra 'm gwaed o fewn y galon gur,
O cofiaf, cofiaf di.
A phan bo'm llais a'm cof yn ffoi
Ar olaf dòn y lli,
A thithau yn dy deyrnas ddoi,
O Iesu, cofia fi.

**392.** *Gylwad i ffoi i Soar*... *M. C. D.*

DEWCH, bechaduriaid mawrion, dewch,
I Soar dewch i gyd:
O Sodom, dinas dystryw, ffowch,
Cyn-delo 'r dwyfol lid;
O fewn ei muriau 'n dawel mwy,
Gwnewch aros tra b'och byw,
Ac yno 'n ddiogel byddwch byth,
Pan ddêl digofaint Duw.

**393.** *Ebenezer*... *M. C. D.*

MAE 'n taith-yn awr dan awyr lâs
Drwy ganol dyffryn gwae,
Mae 'n boreu 'n llesg, bron colli 'r maes,
Ac weithia 'n llwfrhau;
Er hyn tra gallom seinio iaith
Clodforwn ras ein Duw,
A chodwn beunydd ar ein taith
Ein Hebenezer gwiw.

2 Tra ar y ffordd cawn gymhorth gras
Ein mwyn Waredwr cu,
Yn nyffryn cysgod angeu glas,
Bydd oll yn oll i ni;
Cawn eistedd ar ei ddeheu law
Am byth yn nheyrnas nef,
Ar fryniau anfarwoldeb draw
Cawn ganu—Iddo Ef.

**394.** *Cwymp dyn a'i godiad... M N.* 8, 6—1*af.*

COLL'SOM y dydd yn Eden draw,
Wylwn, wylwn, wylwn,
Mae 'n cwymp yn peri poen a braw,
Wylwn, wylwn, wylwn:
'Nillwyd y dydd ar Galfari,
Canwn, canwn, canwn,
Mae 'r frwydr 'n awr o'n hochr ni,
Canwn, canwn, canwn.

2 Yn Eden cawsom golled fawr,
Wylwn, wylwn, wylwn,
Syrthiodd ein coron hardd i lawr,
Wylwn, wylwn, wylwn:
Caw'd ar Galfaria gyfoeth mwy,
Canwn, canwn, canwn,
Trwy Iesu Grist a'i farwol glwy',
Canwn, canwn, canwn.

**395.** *Duw dros Sion... M. N.* 8, 6—2*il.*

ER bod rhai o benaethiaid byd
Yn ymgynghori nawr yn nghyd,
Yn erbyn Sïon wan a'i phlant,
Mae Duw wrth raid o blaid ei saint;
Y gair lefarodd ef
A saif tra pery 'r nef,
P'le p'le mae neb îs nen
All rwystro 'i waith i dd'od i ben.

2 Mae 'r galon galed gyndyn gâs
A'i llygredd cryf yn erbyn gras;
Ond er mor ddwys rhodd pechod glwy',
Mae'r feddyginiaeth fawr yn fwy;
  Daw 'r tystion ar eu traed,
  Bydd cânu am y gwaed,
  Clod, clod, a fydd eu cân,
Pan welir tir a dŵr yn dân.

**396.** *Llwydd geiriau gras*... *M. N.* 8, 6—*2il.*

MAE gwirioneddau gwerthfawr gras
Yn llwyddo yn yr India fras,
Maent yno nawr yn taflu i'r tân
Y duwiau mud a'r delwau mân;
  Lle bynag caffo 'r arch,
  Ei derbyn gyda pharch,
  Daw, daw, fel dafnau gwlith,
Fendithion mawrion rhad i'w plith.

2 At waed y groes mae 'r Negroes du
Yn troi eu llygaid nawr yn llu;
Wynebu briwiau 'r Oen a'i glwy',
Am iechydwriaeth y maent hwy,
  Ar frys er profi blas
  Dŵr gloyw afon gras;
  Pêr, pêr y seinia rhai'n
Byth fry am ffrwyth y goron ddrain.

**397.** *Defnyddio moddion gras*... *M. N.* 8. 6—*2il.*

TRAFAELU 'mlaen yr y'm o hyd
Heb aros dim tua 'r bythol fyd,
Mae 'n bryd deffroi a chodi i maes,
A gwneud yn fawr o foddion gras,
  O llefwn am y gwir,
  Nac oedwn ddim yn hir,
  Mae, mae yn dymor nawr,
Wel dyma 'r dydd a dyma 'r awr.

**398.** *Y Mil Flwyddiant...M. N.* 8, 6—2*il.*

POB llwyth ac iaith fydd yn gytun,
Yr Iuddew fel y cenedl ddyn;
Fe glywir llais yn mhlith y llu,
Am waith Oen Duw ar Ethiop du;
Clywch lais yr udgorn clir,
Yn galw i Salem dir;
Cawn, cawn feddiannu 'r wlad
Ordeiniwyd ini gan ein Tad.

2 Fe ddarfu 'r nos a'r gauaf du,
Mae 'n dechreu gwawrio oddi fry;
Cysgodau 'r hwyr a aeth yn mhell,
Nesâu mae 'r dydd—daw cynydd gwell
Clywch lais yr adar mân,
Mor beraidd yw eu cân!
Ffown, ffown ar aden ffydd
I fynwes Duw yn ngoleu 'r dydd.

**399.** *Jerusalem Newydd...M. N.* 8, 6—2*il.*

Y SALEM newydd sydd yn awr
Yn lledu 'i lle, hi leinw 'r llawr;
Gogoniant gwlad yw 'r ddinas glyd,
Mae 'n hynod lân a hardd o hyd;
Ei Brenin da yw Duw,
Mae beunydd ynddi 'n byw;
Môr, môr o ras i ni
Sy'n llifo ei heolydd hi.

2 Enillwyd breiniau 'r ddinas hon
A gwaed o ôl y waewffon;
Trwy goron ddrain y rhanwyd rhin
Anfeidrol dda i aflan ddyn;
Ei Brenin da yw Duw, &c.

**400.** *Priodoliaethau Duw. .. M. N.* 8, 6—*3ydd.*

MAE 'n llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun,
Diderfyn ydyw Duw:
Mae 'n llon'd y gwagle yn ddigoll,
Mae Oll yn Oll, a'i allu 'n un,
Anfeidrol, annherfynol FOD,
A'i hanfod ynddo ei hun.

2 Anfesuredig yw ei ras,
Un addas yw i ni;
Ni welsom, ac a glywsom sôn
Am droion UN yn DRI;
Ac, fel y clywsom, felly mae
I ninau 'n rhyfedd yn parhau,
Yn ddigyfnewid i'w fwynhau,
Er cymaint beiau 'r byd.

3 Un hunan-fodol ydoedd Ef,
Cyn llunio nef na llawr;
Yn nhragwyddoldeb maith yn ol,
Yn Dduw anfeidrol fawr;
Heb ddechreu dyddiau iddo 'n bod,
Na diwedd einioes chwaith i dd'od,
Tragwyddol a rhyfeddol FOD,
Yn Drindod uniawn drefn.

**401.** *Yr un. . . M. N.* 8, 6—*3ydd.*

'D OES neb, trwy nefoedd hawddgar, heb
Ei bresenoldeb rhydd;
Pob angel, seraph, a phob sant,
A'i gwelant yn ddi-gudd:
Mae pob un yno yn ei ŵydd,
Yn canu yn llafar gyda llwydd,
Ac yn mawrhau y siriol swydd
O foli 'r Arglwydd mawr.

2 Y'm ninau i gyd, trwy 'r byd heb ball,
Hawdd deall yn ngwydd Duw;
Oll yn ymsymud dan y rhod,
Yn bod, ac ynddo 'n byw;
Nis gallwn wneud mewn dirgel le
Un math o fai nas gwel Efe;
Drwy 'r byd yn awr, ac yn y ne',
Mae, wele, ar un waith.

3 Ein holl feddyliau, da a drwg,
Sydd amlwg iddo Ef;
A phob ochenaid ddystaw iawn
Fe'i clyw mor llawn a'n llef:
Fe edwyn galon dyn heb goll,
A'i fwriad oll, ofered yw,
Mae'r chwant yn weithred cyn ei gwneud,
Hawdd dweyd yn nghyfrif Duw.

**402.** *Yr un. . . M. N.* 8, 6—3*ydd.*

CLYW, f' enaid tlawd, mae genyt Dad,
Sy'n gwel'd dy fwriad gwan;
A Brawd yn eiriol yn y nef
Cyn codi 'th lef i'r làn:
Cred nad diystyr gan dy Dad
Yw gwrandaw gwaedd dymuniad gwiw,
Pe byddai d' enau yn rhy fud
I'w dd'wedyd ger bron Duw.

2 Pan fyddwyf mewn rhyw ddirgel fan,
Yn gruddfan dan y groes,
Bron methu cerdded llawer cam,
Gan faich rhy drwm yn f' oes;
Daw weithiau feddwl imi fod
Mab Duw i'm canfod yn mhob cell,
Na châf ddihoeni felly o hyd—
Y gwawria bywyd gwell.

**403.** *Trugaredd Ior. . . M. N.* 8, 6—*Aydd.*

PARHAU mae hen drugaredd Iôr,
A'i ras yn llanw fel y mòr,
O caned pawb am hon;
Mae cyfuwch ag yw 'r nef ei lun,
Mae 'n chwilio 'r dyfnder am y dyn!
O caned daear gron.

2 Bydd rhyw dragwyddol glod i'r Iôn,
Am ei drugaredd Ef bydd sôn,
Am gofio marwol ddyn;
Ei ymgeleddu yn ei waed,
Trugaredd heb ei hail a gaed,
Trugaredd Tri yn Un.

3 I lawr y daeth o'r nef at ddyn,
I'w geisio ac i'w gadw 'n un,
Trwy ras Calfaria fryn;
Daeth ato yn ei isel radd,
Yn wael ei lun, ac wedi ei ladd;
O f' enaid, cofia hyn.

4 Mae hon yn golchi'r brwnt yn lân,
Mae 'n achub pentewynion tân,
Mae 'n codi 'r marw 'n fyw;
Mae hon yn cuddio noethni 'r cas,
Yn gyfiawn trwy anfeidrol ras,
Rhyfeddol gariad yw.

5 O f' enaid nac anghofia mwy,
Mae meddyginiaeth i dy glwy',
Cân am Galfaria fryn;
Dim damnedigaeth mwy nid oes,
I'r hwn a gred yn angeu 'r groes,
Mi ganaf byth am hyn.

**404.** *Dyoddefaint Crist... M. N.* 8, 6—*4ydd.*

FY enaid, nac anghofia groes,
Annhraethol ing, a phoen a loes,
Yr Oen difeius pur;
Tan wg y byd, ac uffern gref,
A dwys ofynion llawn y nef,
Mor ddwfn a dwys ei gur!

2 Fy enaid, cofia gwpan ddwys,
Digllonedd nef mewn grym a phwys,
Y gwpan yfodd E':
Mewn ing tàn faich annhraethol fawr,
A'i waed yn llifo hyd y llawr,
Dyoddefodd yn fy lle.

3 Fy enaid, cofia Galfari,
A'r Iesu 'n dwyn dy felldith di,
Yn ddiddig ar y pren:
I ddwyn it' fendith lawn a hedd,
Bu ar y groes, bu yn y bedd,
O câr Ef byth, Amen.

**405.** *Yr un... M. N.* 8, 6—*4ydd.*

O COFIWN hoelio Iesu cu,
Ac iddo lyncu angeu du,
Ar groesbren un prydnawn:
A chofiwn rwygo 'r llen i'r llawr,
Pan y dolefodd Iesu mawr;
Fe rodd anfeidrol iawn.

2 Y chwys a'r gwaed oedd yn yr ardd,
Y dagrau tros ei wyneb hardd,
Oedd brawf o'i ddyndod ef:
A'i weddi gyda'r Tad yn un,
A dystia 'n wir ei fod yn ddyn,
'N wynebu 'r storom gref.

3 Ei lef yn hollti 'r meini 'nghyd,
Yn crynu holl derfynau 'r byd,
Oedd brawf o'i Dduwdod mawr:
Ac achub lleidr ar y groes,
Yn nyfnder ing ei farwol loes,
A'i waed yn llif i'r llawr.

4 O caned nef âg uchel floedd,
Dadseinied daear oll ar g'oedd,
Ryw anthem bêr i'r Oen;
Er duo 'r haul, a llosgi 'r byd,
A syrthio sêr y nef yn nghyd,
Fe'i molir am ei boen.

**406.** *Buddugoliaeth Calfaria. . . M. N.* 8, 6—*4ydd.*

YN Eden, cofiaf hyny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw:
Ond buddugoliaeth Calfari
Enillodd hon yn ol i mi,
Mi ganaf tra f'wyf byw.

2 Ar Galfari yn ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli':
Ac yno talu anfeidrol iawn,
Nes clirio llyfrau 'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

3 Caed y llieiniau yn y bedd,
Fe adgyfododd Brenin hedd,
Gan goncro angeu 'i hun:
Mewn cwmwl gwyn esgynodd ef,
Mae'n awr yn eiriol yn y nef,
Darfydded sôn am ddyn.

4 O Iesu 'm Ffrind a'm Prynwr rhad,
O'th galon wiw daeth môr o waed,
I olchi 'm ffiaidd friw:
Rho i mi nerth i wneud fy nyth,
I'm henaid i ymguddio byth,
O fewn dy glwyfau gwiw.

**407.** *Cymod trwy'r gwaed. . . M. N.* 8, 6—4*ydd.*

MAE Duw 'n cymodi 'r gelyn cas,
Mae 'n dwyn y caeth yn rhydd drwy ras,
Fe'i molir byth am hyn:
Mae 'n dwyn y pell yn agos iawn,
Drwy rinwedd yr annhraethol ddawn,
Gaed ar Galfaria fryn.

2 Mae 'n puro 'r enaid gwael ei ryw,
Mae 'n golchi 'n lân y dua'i liw,
Drwy rinwedd maith y gwaed:
Am hyn dyrchefir yn ddilyth,
Gan fyrdd, ogoniant iddo byth,
Am waredigaeth rad.

**408.** *Emyn teulu. . . M. N.* 8, 6—4*ydd.*

EIN heinioes, O mor felus fydd,
Os treulio wnawn yn gu ein dydd,
Yn ofn a chariad Duw;
Cyd-ogoneddu 'r nefol Iôr,
Creawdwr mawr y tir a'r môr,
Sydd waith hyfrydol gwiw.

2 Cyd bererinion y'm yn awr,
Tua 'r Gánaan wiw nefolaidd wawr,
Trwy fyd trafferthus ffol;
Yn llaw, yn llaw, ni awn yn mlaen,
Trwy 'r llaid a'r llwch a'r llif a'r tân,
Nes gado byd ar ol.

3 'N ol tirio i dre' yr ochr draw,
Ni gawn—heb ofni brenin braw,
Heb bechod ac heb boen,—
Gyd-seinio 'r gu nefolaidd gainc,
Yn wych ein llef o flaen y fainc,
Dros fyth i Dduw a'r Oen.

**409.** *Dyfod o'r Anialwch. . . M. N.* 8, 6—*4ydd.*

O PWY yw hon sy'n d'od yn hy',
Yn lew i'r lan fel rhwng dau lu,
O'r dywell Aifftiaidd wlad?
Gan roddi pwys ei henaid pur
Ar Iesu gwiw, 'r Messia gwir,
Ei Ffrind a'i Phrynwr rhad.

2 Fel boreu wawr fe welir hon,
Têg fel y lloer ei hwyneb llon,
Mewn carìad, gras, a hedd:
Fel haul, heb un brycheuyn du,
Ofnadwy fel banerog lu;
On'd hyfryd yw ei gwedd?

3 O'r dyfnder du i'r làn y daeth,
Tua 'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth,
Yr etifeddiaeth fras:
Yn llawn o hedd, mae 'n awr mewn hwyl,
A'i nefol gainc yn cadw gwyl
I'r Oen am ddwyfol ras.

**410.** *Can y nef i Grist. . . M. N.* 8, 6—*4ydd.*

BYDD peraidd floedd mewn puraidd flas
Gan ddynolryw am ddoniol ras
Drwy ddinas fawr y nef;
Cân tyrfa loyw ar y làn,
Am gadw 'r gwael, am godi 'r gwan,
Cyd-byncian—Iddo Ef.

2 Am gael eu dwyn o farw 'n fyw,
A chael yn ol hardd ddelw Duw,
A gollwyd yn yr ardd,
Y bydd caniadau, lleisiau llon,
Heb glwy' na briw o dan eu bron,
A'u coron eto 'n hardd.

**411.** *Iachawdwriaeth... M. N.* 8, 6—5ed.

DARLUNIO 'r Iechydwriaeth lawn,
Nid all yr angel goreu 'i ddawn,
Mae oll yn ddoeth, mae oll yn iawn,
O drefniad dwyfol Dri;
Fe gwyd drueiniaid rif y gwlith,
Fe 'u gwna 'n offeiriaid i Dduw byth,
Cânt ganu 'r delyn yn ddilyth,
Mae 'n addas iawn i ni.

2 O hyfryd, hyfryd fydd y gwaith,
Moliannu Duw mewn nefol iaith,
Am oesau tragwyddoldeb maith,
Am iechydwriaeth rad:
Cydganu â'r angylaidd lu,
Yn mhlith yr holl gyfiawnion fry,
A gweled wyneb Iesu cu,
A chanu am ei waed.

**412.** *Afon Iachawdwriaeth... M. N.* 8, 6—5ed.

FEL afon gref lifeiriol yw
Gras a daioni 'r Arglwydd Dduw;
Efe sy'n cadw 'r saint yn fyw,
Mewn troion cyfyng-iawn;
Ar sychder mawr mae 'n dyfrhau,
A hyn bob moment yn parhau,
A chyda hyn mae yn glanhau,
Foreuddydd a phrydnawn.

2 Mae ffrydiau 'r afon hon, a'i rhin,
A'i blas, yn llawer gwell na 'r gwin,
Yn adnewyddu 'r enaid blin,
A'i gynal dan y groes;
Mae 'n dwyn tangnefedd nef fel lli',
Trwy waed ac aberth Calfari,
I ran yr enaid gwan ei gri,
Yn nyfnder pob rhyw loes.

**413.** *Cariad Crist... M. N.* 8, 6—5ed

DY gariad, Iesu, sydd yn awr
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyncu enwau gwael y llawr,
Oll yn ei enw ei hun:
Rhyw fflam angerddol gadarn gref,
O dân enynodd yn y nef,
Tragwyddol gariad ydyw ef,
Gwnaeth Dduw a ninau 'n un.

2 O Arglwydd Iôr, anfeidrol yw
Dy gariad mawr at ddynolryw;
Ti drefnaist ffordd i gadw 'n fyw,
Y gwanaf yn dy law:
Trwy'r gwaed yn rhad mae'r ffordd yn rhydd,
I ganol nef, fy enaid prudd;
O gwyn ei fyd pob perchen ffydd,
Ryw hyfryd ddydd a ddaw.

3 Nid oes ond f' Arglwydd mawr ei ddawn
A leinw 'm henaid i yn llawn;
Nis gallwn gynal mwy pe cawn,
Mae ef yn ddigon mawr;
Digonedd pob digonedd yw
Dy hyffyd bresenoldeb gwiw;
Yn angeu ceidw hyn fi 'n fyw,
A boddlon wyf fi 'n awr.

**414.** *Hyder a gweddi y Cristion.* .. *M. N.* 8, 6—5*ed.*

FY noddfa gadarn fythol yw,
Y gair a ddaeth o enau 'm Duw,
Fe dd'wedodd y cawn ninau fyw,
  Anfeidrol yw ei ras:
Mi welaf ôl ei siriol saint,
Tan y cystuddiau mwya 'u maint,
Yn cadw 'u cysur, cadw 'u braint,
  Yn wyneb angeu glâs.

2 O addfwyn Iesu gad im' fod
O fewn dy gorlan, dan dy nod,
A threulio 'mywyd er dy glod,
  Yn gyflawn o dy hedd;
Yn nghanol terfysg a phob gwae,
Croes a chystuddiau yn amlhau,
Gan fyn'd yn mlaen tan lawenhau,
  Nes gorwedd yn y bedd.

3 Duw os wyt am ddybenu 'r byd,
Cyflawna 'n gynta' d' air i gyd,
Dy etholedig galw 'nghyd,
  O gwmpas daear fawr:
Aed sain d' efengyl trwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachad,
  Ac yna tyr'd i lawr.

**415.** *Pwys Crefydd.* .. *M. N.* 8, 6—5*ed.*

MAE crefydd o annrhaethol bwys,
Ac yn teilyngu pryder dwys;
Cyn cael ein gosod dan y gwys
  Taer geisiwn hon o hyd;
Y penaf o bob trysor yw
Cael crefydd bur o blaniad Duw;
Trwy feddu hon cawn fyn'd i fyw
  Ar fyr i'r Ganaan glyd.

2 Mae ganddi fwyn addewid fawr,
O'r bywyd sydd yn bod yn awr,
Ac o'r hwn fydd fry uwch y llawr;
  I bob peth buddiol yw;
Tragwyddol goron iddi sydd,
Yn ngwlad y mawl a'r bythol ddydd,
Lle mae trysorau teulu 'r ffydd,
  Yn hoff gymdeithas Duw.

**416.** *Nefol ardal. . M. N.* 8, 6—6*ed.*

O ARDALOEDD nefol hyfryd,
Draw 'r Iorddonen, tir y bywyd,
Gwlad lle mae fy hen gyfeillion
Wedi dianc o'u trallodion,—
Nid oes lludded, chwaith na blino,
Ar y pererinion yno:
  Gyd a'u Nêr, uwch y sêr,
  Heb flinder na thrallod,
A'u cadwynau wedi dattod
'N rhydd i oesoedd maith diddarfod.

2 Nid yw'r llygaid heddyw 'n gweled
Dim a'u harwain i gaethiwed;
Nid yw 'r serch yn cael 'i enynu
At un dim na tnal ei garu;
Ni raid ofni 'r cystudd chwerw,
Croes ragluniaeth byth na marw;
  Y mae 'r byd, oll i gyd,
  A'i ynfyd deganau,
Wedi rhedeg o'u meddyliau,
Wrth gael ergyd marwol angau.

3 'R wyf bron gorphen fy holl yrfa,
Derfydd yfed dyfroedd Mara;
Pob cwpanaid wy'n ei yfed
Sy 'n fy ngwneuthur yn fwy addfed;
Fe ddaw 'r dydd caf rydd orphwyso,
Derfydd galar, draw ac wylo;
Yn y tir nefol clir,
Y gwelir fy enaid,
'R holl gadwynau wedi dattod
'N rhydd i oesoedd maith diddarfod.

**417.** *Nefol ardal... M. N.* 8, 6—6*ed.*

'R WYF fi 'n myn'd i wlad i drigo,
Lle mae gloyw hedd yn llifo;
At gyfeillion mil mwy hawddgar
Nag a welwyd ar y ddaear;
Lle mae cyfoeth pur, diddarfod,
Pleser gwiw, heb friw na thrallod,
Gyd â'r llu, sanctaidd sy'
Yn moli f' Anwylyd,
Yn ymborthi ar wleddoedd hyfryd,
Byth, ac fyth yn nhir y bywyd.

2 Bellach, gorfoledda 'n hyfryd,
'R wyt ar ddianc o'th galed-fyd;
Fe agorwyd rhydiau 'r afon,
'R Arch sy'n myn'd o'th flaen yn union;
Cadw afael pan ddel galwad,
Cadarn ar yr Archoffeiriad:
Dos i'r dŵr, cryf yw 'r gŵr,
Mae 'n siwr o dy dderbyn,
Ti âi drosodd yn mhen gronyn
I mewn i'r nefol wlad ddiderfyn.

**418.** *Ffynon bur. . . M. N.* 8, 6—*6ed.*

'RWY 'n rhoi 'mhechod, 'rwy 'n rhoi ngham-
Lawr yn gryno wrth dy orsedd; [wedd,
Maddeu i'r brwnt a maddeu i'r aflan,
Sydd o flaen dy fainc yn gruddfan;
Rhad drugaredd wy 'n ddymuno,
Darfu haeddiant dyn yn gryno;
Nid oes dim noddfa im'
Yn wyneb grym angau,
Ond yr Aberth maith rinweddau,
'Fu ar y groes dros fy mhechodau.

2 Dacw 'r ffynon bur hawddgara',
Gànodd filoedd fel yr eira;
Dacw 'r nant a dacw 'r afon,
Sydd yn genllif o gysuron;
Dacw 'r dwfr, mi gwympaf iddo,
Deued i mi fel y delo;
Bellach mwy, treiddiaf trwy,
Ni saif yn hwy ofnau:
Mwy yw 'r hwn fu 'n dyoddef clwyfau,
Nac aneirif faint fy meiau.

**419.** *Swper yr Arglwydd. . . M. N.* 8, 6, 5.

DADSEINIWN orfoleddus glod
Ein Prynwr, Duw a dyn;
Gwaredwr yw Ef, ei fraich sydd yn gref,
Dyoddefodd ein haeddiant ei hun.

2 Ei gnawd a ddrylliwyd ar y pren,
Yw bara 'n henaid byw;
Ei waed yw y gwin sy'n lloni pob un,
Ein helaeth gynaliaeth ni yw.

Pa ddawn a draetha rin ei waed,
Y Balm o Gilead pur;
Mae 'n rhoddi iachâd, a llwyr esmwythâd,
O friwiau ein codwm a'n cur.

4 Coffâwn am angeu trist y groes,
Gyda diolchus ffydd;
Cyfiawnder ga'dd iawn, y taliad oedd lawn,
Rhow'd ninau, ddyledwyr, yn rhydd.

**420.** *Melchisedec. .. M. N.* 8, 6, 5.

OFFEIRIAD y Goruchaf Dduw,
Prydferthaf yn ei wedd,
Melchisedec gwir, i'w bobl yn bur,
Sy Frenin cyfiawnder a hedd.

2 O ardderchocaf urdd a braint,
Eneiniog gwych y Tad,
Tragwyddol Fab Duw, a wnaethpwyd in' yw,
'N Offeiriad o fythol barhad.

3 Trwy gâd, ac ymgyrch, rhyfel blin,
Mae 'n tynfa tua thref;
Rhydd fara a gwin, adfywiol eu rhîn,
A'i fendith i filwyr y nef.

4 Edrychwn, frodyr, faint yw hwn,
A maint wnaeth er ein mwyn;
Er llesgedd ein llun, ymroddwn, bob un,
Byth iddo, fe 'n derbyn yn fwyn.

**421.** *Gwaed yr Oen. .. M. M.* 8, 4—1*af.*

CAFWYD modd i olchi 'r halog
Yn ngwaed yr Oen;
Ac i lwyr ryddhau yr euog,
Trwy waed yr Oen;
Haleluia, byth heb dewi,
Fydd y gân yn ngwlad goleuni,
Gan y dyrfa ddirifedi,
Am waed yr Oen.

2 Ceir diangfa rhag marwolaeth
Trwy waed yr Oen;
Nid oes ffordd o waredigaeth
Ond gwaed yr Oen;
Iesu 'n drysor boed im' ddewis,
Gan ddefnyddio 'i waed uchel-bris,
O! gochelwn fod yn ddibris
O waed yr Oen.

**422.** *Gwaed yr Oen. . . M. N.* 8, 4—1*af.*

FE agorwyd ffordd gyfreithlon,
Trwy waed yr Oen,
I ryddhau troseddwyr caethion,
Trwy waed yr Oen;
Gwelir miloedd wedi 'u golchi,
Draw yn glànio tir goleuni,
Heb frycheuyn chwaith na chrychni,
Trwy waed yr Oen.

2 Wedi cael eu gynau 'n wynion;
Trwy waed yr Oen,
Cael yr hedd a'r wledd a'r goron
Trwy waed yr Oen,
Peraidd bynciant Haleluia,
Am yr iawn row'd ar Galfaria,
Cofiant byth am eu diangfa
Trwy waed yr Oen.

**423.** *"Achub yn awr." . M. N.* 8, 4—1*af.*

MAE y ddeddf yn brysio i esgor,
Achub yn awr;
Ac mae Tophet yn ymagor,
Achub yn awr;
Chwery rhai â'u damnedigaeth,
A gwrthodant iechydwriaeth,
Gan wynebu 'r ail farwolaeth,
Achub yn awr.

2 Gwel y byd yn gwyllt gyflymu,
Achub yn awr,
Tua dystryw heb ddychrynu,
Achub yn awr;
Mae yn gorwedd mewn tawelwch
Dan ryw fagddu o dywyllwch,
Yn amddifad o dy heddwch,
Achub yn awr.

3 Arglwydd grasol, dod orchymyn,
Achub yn awr,
Nes y codo teulu 'r dyffryn,
Achub yn awr;
Gwelir eto 'r esgyrn sychion
Yn anadlu awyr Sïon,
Gan fwynhau ei hoff ddanteithion,
Achub yn awr.

**424.** *Pwy fel efe? .. M. N.* 8, 4—1*af.*

UN a gefais im' yn gyfaill,
Pwy fel efe?
Hwn a gâr yn hŵy nag eraill,
Pwy fel efe?
Cyfnewidiol ydyw dynion,
A siomedig yw cyfeillion;
Hwn a bery byth yn ffyddlon,
Pwy fel efe?

2 Henffych foreu cawn gyfarfod
Yn nhŷ ein Tad;
Byth ni ddaw na phoen na phechod
I dŷ ein Tad;
Pawb a'u dagrau wedi eu sychu,
Yn egnïol gyd-dderchafu
Enw 'r mwyn Waredwr Iesu,
Yn nhŷ ein Tad.

**425.** *Concwest y Saint... M. N.* 8, 4—2il.

Yn mlaen, yn mlaen, chwi filwyr Duw,
O'ch blaen mae buddugoliaeth wiw;
Cewch ddwyn eich palmwydd yn eich llaw,
A gwisgo'r hyfryd goron draw,
A bloeddio 'r goncwest ddydd a ddaw,
Yn nheyrnas nef.

2 Cawn yno uno â'r dedwydd lu
Sy 'n canu am gariad Iesu cu;
Ni ganwn am ei gariad drud,
'R ol berwi 'r môr, a llosgi 'r byd;
A hyn fydd sain y gân i gyd—
Ei gariad Ef.

**426.** *Galwad yr Ffengyl... M. N.* 8, 4—2il.

AWN bechaduriaid at Dduw 'r ne',
Yn nghlwfau 'r Oen mae i ni le,
Cawn wleddoedd breision yn ei dŷ,
Wrth gofio angeu Iesu cu,
Cawn gyfran o'r llawenydd fry,
Sy'n nghwm'ni Duw.

2 Boed i ni garu Crist a'i ras,
'N lle gwrando ar y gelyn cas,
Gwrandawn ar lais Glân Ysbryd Duw,
Mae 'n cymhell pawb o ddynolryw,
Awn blant marwolaeth, a chawn fyw,
Drwy angeu Crist.

**427.** *Hymn foreuol... M. N.* 8, 3, 6.

DEFFRO, f' enaid, deffro 'n ufudd,
C'od yn awr, gyd a'r wawr,
Seinia ganiad newydd.

2 F' enaid bach ga'dd huno 'n gynes,
Yn ddi loes, tros y nos,
Yn dy ddidos fynwes.

3 Dan dy aden dawel dyner,
Ces, heb wŷn, hyfryd hûn;
Buddiol fu'm hesmwythder.

4 Heddyw rhof fy mhwys ar ddwyfron
Iesu gwiw, 'Nh'wysog yw,
Rhag pob rhyw elynion.

5 Hyfryd fore (o gaethiwed)
Wawria draw, maes o law,
Iesu ddaw i'n gwared.

6 Uwch creaduriaid, Iesu, cadw
F'enaid llon, ar dy fron
Dirion, nes fy marw.

**428.** *Hymn Brydnawnol... M. N.* 8, 3. 6.

AM fendithion y goleuni,
Clod i'm Duw, heno'n wiw;
Rhyfedd yw'th ddaioni.

2 Maddeu feiau'r dydd aeth heibio;
Trwy dy waed, rho lanhad;
Moes ymweliad eto.

3 Dan dy gysgod heno'n dawel
Llechu wnaf: gyd â'm Naf
Byddaf yn ddiogel.

4 Ac os hon fydd nos fy angeu,
Iesu cu, derbyn di,
F'ysbryd i dy freichiau.

**429.** *Cymdeithas a Christ... M. N.* 8, 3, 6.

IESU, 'Mrenin mawr a 'Mhriod,
'N erbyn llu, bydd o'm tu,
I orchfygu pechod.

2 Tra fwy'n trigo'n yr anialwch,
Gwel'd yn wir d' wyneb pur,
Yw'm gwir ddyddanwch.

3 Pâr im' aros mwy'n dy freichiau,
Boed fy nyth, ddedwydd fyth,
Yn dy ddilyth glwyfau.

**430.** *Crist oll yn hawddgar... M. N. 7iau.*

'DOES gyffelyb iddo Ef,
Ar y ddaear yn y nef,
Trech ei allu, trech ei ras,
Na dyfnderoedd calon gas.

2 Caned cenedlaethau'r byd
Am ei enw mawr yn nghyd;
Bloeddied moroedd gyda thir
Ddyfnder iachawdwriaeth bur.

3 Na foed neb îs awyr lâs
Heb gael prawf o'th nefol ras;
Doed holl luoedd daear gron,
Yfent ddwfr y ffynon hon.

4 O dy glwyfau rhed i maes
Afon ddwyfol loyw lâs,
Sydd yn achub, sy'n glanhau,
Myrddiwn o'r aflanaf rai.

**431.** *Awdurdod Crist... M. N. 7iau.*

WELE angeu llym ei gledd,
Wele agoriadau'r bedd,
Wele nef a daear lawr,
Tan awdurdod Iesu mawr.

2 Fry esgynodd Mab y dyn,
Trwy ei werthfawr waed ei hun!
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef
I fawr werth ei aberth ef.

3 Eistedd mae'n Cyfryngwr mawr
Ar orseddfa'r nef yn awr;
Cynrychioli mae'r Mab rhad
Bawb o'r holl grediniol hâd.

4 Gwaith gorphenol Iesu yw
Prynedigaeth dynolryw:
Pob ymadrodd yn un iaith,
Canant mwy ei foliant maith.

**432.** *Ymbil am yr Ysbryd. . . M. N. 7iau.*

YSBRYD Glân, Colomen nef,
Gwrando'n rasol gŵyn ein llef;
Aethom yn wywedig iawn,
Disgyn yn dy fywiol ddawn.

2 Oer yw'n serch a gwan ein ffydd,
A'n Hosanna'n ddystaw sydd;
Brysia, tyred, Ysbryd Glân,
Chwyth o'n mewn y nefol dân.

3 Tyred, fwyn Golomen nef,
Cod ni ar dy aden gref,
Nes yr elom uwch y byd
Mewn sancteiddiol nefol fryd.

**433.** *Llwyddiant yr Efengyl. . . M. N. 7iau.*

WELE 'r dydd yn gwawrio draw,
Amser hyfryd sy gerllaw;
Daw'r cenedloedd yn gytun,
I dderchafu Mab y dyn.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr,
Yn ben moliant ar y llawr;
Gwelir tŷ ein Harglwydd cu
Goruwch y mynyddoedd fry.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn
Yn dylifo ato'n llawn,
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgaut ryfel mwy.

4 Fe geir gweled Babel fawr
Gwedi syrthio oll i lawr,
A'r teyrnasoedd mawr eu bri
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni.

**434.** *Y dyrfa ddysglaer. . . M. N. 7iau.*

BETH yw 'r dyrfa ddysglaer hon
Sydd yn sefyll ger ei fron?
Blaenffrwyth ŷnt i Dduw a'r Oen,
Wedi gadael byd o boen.

2 Dyma'r rhai fu'n cario'r groes
Gyda'r Iesu yn mhob oes;
'Rhai fu yn y cystudd mawr,
Wedi d'od i'r nef yn awr.

3 Dyma'r dyrfa harddaf gaed,
Wedi'u golchi yn y gwaed;
Pobl o bob llwyth ac iaith
Wedi d'od i ben eu taith.

4 Ni raid iddynt ymladd mwy—
Heirdd orchfygwyr ydynt hwy;
Rhyfel yn y nef ni bydd,
Wedi iddynt gario'r dydd.

5 'R hwn sydd ar yr orsedd fry
Wna fugeilio'r nefol lu,
Arwain at ffynonau byw,
Rhai a dardd yn nheyrnas Dduw.

**435.** *Gwaed y taenelliad. . . M. N. 7iau.* **6 *llin.***

DACW 'r ffynon fawr a gaed,
Ffrydiau hyfryd dŵr a gwaed,
Darddodd allan ar y bryn,
Ylch fy enaid oll yn wyn;
Dyma'm nerth i fyn'd yn mla'n,
Dyma sylfaen bur fy nghân.

2 Iesu, gorphwys yn dy glwy',
Wna fy enaid bellach mwy;
Dyma'm noddfa werthfawr lawn,
O foreuddydd hyd brydnawn;
Dyma'm cysur oll i gyd,
Dyma'm nerth i'r nefol fyd.

3 Ti dy hunan, Iesu mawr,
Yw fy noddfa ar y llawr;
Gad im' gael dy gwmni cu,
Cyn myn'd i'r Iorddonen ddu;
Yna deuaf ger dy fron,
Heb ddychrynu gan y dòn.

**436.** *Boddlawn yn yr Iawn. . . M. N. 7iau.* 6 ***llin.***

CLOD i Dduw trwy'r nefoedd fry,
Am yr Iachwdwriaeth gu:
Trwy anfeidrol ddwyfol waed,
Iawn digonol imi gaed;
Moliant fyth i'r Tri yn Un
Am y ffordd i gadw dyn.

2 Moliant i Dywysog ne',
Aeth i'r lladdfa yn ein lle;
Dygodd ef ddigofaint Duw,
Profodd drosom farwol friw;
Seiniwn foliant Iesu'n faith,
Duw sydd foddlawn yn ei waith.

**437.** *Iachawdwriaeth gyflawn... M. N. 7iau. 6 llin.*

HYFRYD lais efengyl hedd,
Sydd yn galw pawb i'r wledd:
Mae gwahoddiad llawn at Grist,
Oes i'r tlawd, newynog, trist;
Pob cyflawnder ynddo gewch,
Dewch a chroeso, dlodion, dewch.

2 Cyfod, Haul Cyfiawnder llon,
Dyrcha dros y ddaear hon;
Aed dy lewyrch i bob gwlad,
Yn dy esgyll dwg iachad:
Dos ar gynydd, nefol ddydd;
Doed y caethion oll yn rhydd.

3 Rhoddodd Crist anfeidrol iawn
Ar y croesbren un prydnawn;
Llifodd ar Galfaria fryn
Ddŵr a gwaed i'm golchi'n wyn;
Iachawdwriaeth sydd heb drai,
Dewch i'r ffynon, aflan rai.

4 Iesu gaiff y clod i gyd;
Ymaith dyg bechodau'r byd;
Rhoes ei hunan yn ein lle,
Bellach beth na rydd efe?
Haleluia! llawenhewch,
Dewch, moliennwch, byth na thewch.

**438.** *Rhodio gyda Duw... M. N. 7iau. 6 llin.*

BETH sydd imi yn y byd?
Gorthrymderau mawr o hyd;
Gelyn ar ol gelyn sydd
Yn fy nghlwyfo nos a dydd;
Meddyg archolledig rai,
Dere'n fuan i'm iachau.

2 O na allwn tra f'wyf byw
Rodio bellach gyda Duw;
Treulio f'oriau iddo'n llwyr,
O foreuddydd hyd yr hwyr;
Canu am ei werthfawr waed,
Nes meddiannu'r nefol wlad.

**439.** *Beth am y nos? . . M. N. 7iau. 8 llin.*

BETH, wyliedydd, am y nos?
Pa ryw argoel boreu sydd?
Gwel, ymdeithydd, acw dros
Ben y bryniau'r seren ddydd.
Beth, wyliedydd, yw ei gwawr?
Oes rhyw amser gwell a ddaw?
Oes, ymdeithydd, boreu mawr
Yr addewid sydd gerllaw.

2 Beth, wyliedydd, am y nos?
Onid yw ar dori 'r dydd?
Ydyw, deithydd, darfu'r nos,
Goleu mawr ar gynydd sydd.
Pa'm, wyliedydd, llon dy wedd,
Troi di tua'th gartref clyd?
Gwel, ymdeithydd, Frenin Hedd
Yn teyrnasu tros y byd.

**440.** *Y Ganaan nefol. . . M. N. 7iau. 8 llin.*

DACW gariad nefoedd wen,
Yn dysgleirio ar y pren;
Dacw daledigaeth lawn
I ofynion trymion iawn;
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minau gafodd wir iachâd;
Wele 'r llwybr heddyw 'n glir,
Tua Chanaan, hyfryd dir.

2 Na ddoed gwael wrthrychau'r byd,
Fyth i lechu yn fy mryd;
Digon f'enaid, digon mwy,
Myfyrdodau am ei glwy';
Darfu ymffrost mawr y byd,
Iesu bia'r clod i gyd;
Wrth ei draed dymunwn fyw,
Holl ddedwyddwch f'enaid yw.

3 Wele'r Ganaan hyfryd wiw,
Dyma'r ardal caf fi fyw;
Gwlad heb ofid, gwlad heb wae,
Gwleddoedd hyfryd i barhau;
Rheded rhif fy oriau ma's,
Gael myn'd trwy'r Iorddonen lâs;
Dwyfol gariad, dwyfol hedd,
Gaf fwynhau tu draw i'r bedd.

**441.** *Iesu yn gyfaill. . M. N. 7iau. 8 llin.*

IESU, cyfaill f'enaid byw,
Atat ffoi am noddfa'r wyf;
Tan dy aden gad im' fyw,
Tra'n y byd trallodus b'wyf:
Cudd fi, O fy Arglwydd, cudd,
Nes êl heibio'r storom gref,
Yn arweinydd imi bydd,
Nes cael d'od i deyrnas nef.

2 Noddfa arall gwn nid oes,
Ond dy hun i'm henaid gwan,
Nerth o hyd i eiddil moes,
'Dd'od o'r dyrys fyd i'r làn:
Ynot, Iesu anwyl, mae
Fy ymddiriad tra f'wyf byw:
Nerth rho imi i barhau,
Nes d'od adref at fy Nuw.

**442.** *Rhagluniaeth. . . M. N.* 7, 7, 8.

BENDITHIED pob credadyn
Yr Arglwydd Ior diderfyn,
Sy'n gwisgo'r hardd oleuni teg,
Dull gwiwdeg, fel dilledyn:
Mae ei 'stafelloedd hefyd
Yn y dyfnderoedd dyfrllyd;
Mae'n rhodio ar adenydd gwynt,
Cymylau ŷnt ei gerbyd.

2 I'r môr fe roes orchymyn
I'w ddyfroedd gadw'i derfyn,
Gan orwedd yn ei wely'n glos,
Heb fyned dros yr erchwyn;
Mae'n anfon y ffynonau
I redeg rhwng y bryniau,
I ddyn a 'nifail yn mhob gwlad
Yn rhad wrth angenrheidiau.

3 Lluosog iawn a llesol
Mewn trefniad doeth odiaethol,
At gynal pob creadur byw,
Yw gwaith y Duw tragwyddol;
Rhown addas foliant iddo,
Myfyriwn fwy am dano,
A rhown ar gân modd glân ei glod,
Tra b'om îs rhod yn rhodio.

**443.** *Iachawdwriaeth gyflawn. . . M. N.* 7, 7, 8.

LLANWED yr iachawdwriaeth,
Fel môr didrai yn helaeth,
A doed ynysoedd pell y byd
I gyd gael meddyginiaeth;
Mae'r Brenin ar ei orsedd,
Yn cynyg o'i drugaredd,
I bechaduriaid tlodion gwael,
Dd'od ato i gael ymgeledd.

2 Mae 'r dyled wedi'i dalu,
Ac uffern wedi'i maeddu,
Gobeithiol garcharorion sy,
Yn d'od yn llu i fyny;
Mae'r pyrth yn llawn agored,
Doed Israel o'r caethiwed,
Pob llesg a gwan, byth ger ei fron,
Cânt wel'd yn llon ei nodded.

3 Mae'n achub hyd yr eitha'
Y pechaduriaid mwya',
Fe drefnwyd ffordd i gadw dyn,
Gan Dri yn Un JEHOFA;
Anturiwn ninau ato,
Mae Iesu'n achub eto,
A chroeso i bechaduriaid mawr
Bob mynyd awr dd'od ato.

**444.** *Lledaeniad yr Efengyl... M N.* 7, 7, 8.

AED sôn drwy'r byd am gariad
Ein tirion Archoffeiriad,
Am fywyd pur ac angeu loes,
A dirmyg croes ein Ceidwad:
Aed dros y byd ar fyrder,
Lle mae trigfanau trawsder,
Sain gwaredigaeth i rai gwael,
A llewyrch Haul Cyfiawnder.

2 Yr Iesu fo'n marchogaeth,
Yn ngherbyd iechydwriaeth,
Nes clywo pawb o deulu dyn
Am drefn y prynedigaeth:
A Duw dywallto'i Ysbryd,
Yn bêr gawodydd hyfryd,
Fel delo'r byd fel gardd i Dduw,
A phawb i fyw'n dduwiolfryd.

**445.** *Aros yn y Ty. . . M. N.* 7, 7, 8.

I'TH dawel dŷ y deuaf,
Ac yno byth gobeithiaf;
Yn edrych ar dy hawddgar wedd,
Nes myn'd i'm bedd y byddaf:
Cael gwneud fy nghartref ynddo,
A'm calon heb wrthgilio;
Ond caru a pharchu Duw'n ddibaid,
A'm corph a'm henaid yno.

2 Nâ'd i mi fyw'n rhagrithiol
O fewn dy dŷ dymunol,
Yn forwyn ffôl annuwiol nod,
Heb wybod i dy bobl:
Ond gâd i mi gael aros
O fewn dy babell ddiddos,
Heb chwant myn'd allan o dy dŷ,
Nac 'chwaith fradychu d'achos.

3 O deffro fy nghydwybod,
I wylio'n erbyn pechod,
Rhag i mi fyn'd i'th dŷ mawr di,
A'i lenwi âg eilunod:
Na'd i mi roi achlysur
I neb enllibio'r llwybr,
Na'th gablu di, na rhoi i'r un
Sydd yn dy ddilyn, ddolur.

**446.** *Haleluia. . . M. N.* 7, 7, 8.

HOSANNA Haleluia,
I'r Oen fu ar Galfaria,
Gorphenodd iachawdwriaeth dyn,
Efe ei hun yw'r noddfa;
Tragwyddol ddiolch iddo,
Am faddeu a thosturio,
Anfeidrol fraint i lwch y llawr,
Fod croeso'n awr dd'od ato.

2 O gwyn ei byd y dyrfa
Sy'n canu Haleluia,
Cawn ninau ddianc cyn bo hir,
I mewn i'r wir orphwysfa;
I ganu i dragwyddoldeb,
Mewn hwyl a nefol undeb,
Heb gwmwl rhyngom, byth mewn hedd
A siriol wedd ei wyneb.

**447.** *Mawredd a gras Duw.* . . *M. N.* 7, 6.

JEHOFA sy'n teyrnasu,
Ei orsedd uchel yw,
Goleuni a mawrhydi
Yw gwisgoedd hardd ein Duw:
Dysglaerdeb ei ogoniant
Dywyna maes mor glir,
Nas dichon undyn oddef
Yr olwg arno'n wir.

2 A 'mostwng Ef mor isel,
Iôr gogoneddus mawr,
A d'od yn Dad a Chyfaill
I bryfyn gwael y llawr!
Ei enw gydfoliannaf
A'r holl angylion gwiw;
Mae'r nefoedd i mi'n sicr,
Os wyf yn eiddo Duw.

**448.** *Iachawdwriaeth gyflawn.* . . *M. N.* 7, 6.

O IACHAWDWRIAETH gadarn,
O iachawdwriaeth glir!
Fu dyfais o'i chyffelyb
Erioed ar fôr na thir?
Fe rodd ei fywyd trosom,
Beth all ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
Difesur yn ei glwy'.

2 O ras didranc, diderfyn,
Tragwyddol ei barhad!
Yn nghlwyfau'r Oen fu farw
Yn unig mae iachâd;
Iachâd oddiwrth euogrwydd,
Iachâd o ofnau'r bedd,
A chariad wedi ei wreiddio
Ar sail tragwyddol hedd.

3 'N ol edrych ar ol edrych,
O gwmpas i mi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
Newyddion yn parhau:
Pan bwy'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i 'mryd—
O iachawdwriaeth rasol
Rhyfeddol wyt i gyd!

**149.** *Iachawdwriaeth gyflawn. . . M. N.* 7, 6.

ANGYLION dont yn gyson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhont eu coronau euraidd,
O flaen y fainc i lawr,
Dadseiniant â'u telynau,
Yn nghyd â'r saint yn un,
Fyth, fyth, ni chanant ddigon,
Am Dduwdod yn y dyn.

2 Am angeu'r groes bydd canu
I dragwyddoldeb maith,
Ond im' gael teimlo ei rinwedd,
'R wyf bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
A'i deimlo'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch
O'm mewn yn oleu ddydd.

3 Yn angeu'r groes yn unig,
  Mae'm iachawdwriaeth lawn.
Ac am y groes mi ganaf
  O foreu hyd brydnawn:
'D oes ond yr aberth hwnw,
  Wnawd ar Galfaria fryn,
A'm crëa'i oll o newydd,
  A'm càna' i oll yn wyn.

4 Mi welaf yn ei fywyd
  Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu'r taliad
  A roddwyd drosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf
  Drigfanau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol berffaith
  Gâf yno gyd âg ef.

**450.** *Rhyfeddodau'r Iachawdwriaeth.* .. *M. N.* 7, 6.

O ARGLWYDD Dduw rhagluniaeth
  Ac iachawdwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu
  Y byd a'r nef dy hun:
Yn wyneb pob rhyw g'ledi,
  Y sydd neu eto ddaw,
D'od gadarn gymhorth i mi,
  I lechu yn dy law.

2 O am gael ffydd i edrych,
  Gyda'r angylion fry,
I fôr yr iachawdwriaeth,
  Dirgelwch ynddi sy';
Dwy natur mewn un person,
  Yn gyson yno gaed,
Anfeidrol a thragwyddol
  Yw rhinwedd dwyfol waed.

3 O f' enaid gwel addasrwydd
Y person dwyfol hwn,
Anturia iddo'th fywyd,
A bwrw arno'th bwn:
Mae'n ddyn i gydymdeimlo
A'th holl wendidau i gyd,
Mae'n Dduw i fỳnu'r orsedd,
Ar ddiafol, cnawd, a byd.

**451.** *Ymbil am faddeuaut... M. N.* 7, 6.

PECHADUR wyf, O Arglwydd,
Sy'n curo wrth dy ddôr,
Erioed mae dy drugaredd
Diddiwedd yn ystôr;
Er i ti faddeu beiau
Rifedi'r tywod mân,
Gwn fod dy hen drugaredd
Lawn gymaint ag o'r blaen.

2 Dy hen addewid rasol,
A gadwodd rif y gwlith
O ddynion wedi'u colli,
A gân am dani byth;
Er cael eu mynych glwyfo
Gan bechod îs y nen,
Iacheir eu mawrion glwyfau,
A dail y bywiol bren.

3 Ni cheisia'i yn wyneb Moses,
Ond Iesu i ddadleu 'nghwyn,
Y cyfiawn dros'r anghyfiawn,
Fu farw er fy mwyn;
Yn ymchwydd yr Iorddonen,
Ac yn y farn a ddaw;
Diangol yn y diwedd
A fyddaf yn ei law.

4 Gwasgara 'r tew gymylau,
Oddiyma i dŷ fy Nhad,
Datguddia i mi beunydd
Yr iachawdwriaeth rad;
A dywed air dy hunan
Wrth f' enaid clwyfus trist,
Dy fod yn maddeu 'meiau
Yn haeddiant Iesu Grist.

**452.** *Ymbil am ras... M. N.* 7, 6.

TI Farnwr byw a meirw,
Sydd âg allweddau 'r bedd,
Terfynau eitha'r ddaear
Sy'n dysgwyl am dy hedd;
'Dyw gras i ti ond gronyn,
Mae gras ar hyn o bryd
Ryw filoedd maith o weithiau
I mi yn well na'r byd.

2 O flaen y fainc rhaid sefyll,
Ie sefyll cyn bo hir;
Nid oes a'm nertha yno
Ond dy gyfiawnder pur;
Myfi anturia 'n ëon
Trwy ddyfroedd a thrwy dân,
Heb oleu ac heb lewyrch
Ond dy gyfiawnder glân.

**453.** *Rhagoriaeth Crist... M. N.* 7, 6.

RHYFEDDOD welodd Moses,
Y berth yn llosgi'n dân,
Yn para heb ei difa,
Yn tyfu fel o'r blaen,
Mwy rhyfedd gweled Iesu,
Preswylydd mawr y berth,
Yn faban yn y preseb,
Heb arian ac heb werth.

2 Rhyfeddod gweled Isaac,
Ar ben Moria draw,
Ac Abram wrth yr allor,
A'r gyllell yn ei law;
Mwy rhyfedd gweled Iesu,
Yn rhwym dan law ei Dad,
A'r cleddyf yn ei ystlys,
Yn marw yn ei wa'd.

3 Rhyfeddod gweled Joseph,
A'i frodyr yn gytun,
Heb gofio 'r hen gamweddau,
Ond maddeu bob yr un;
Rhyfeddod mwy gwel'd Iesu,
Yn derbyn dyn i'w gôl,
A ddarfu gynt ei werthu
Am ryw bleserau ffôl.

**454.** *Digonoldeb Crist... M. N.* 7, 6.

MAE Crist a'i w'radwyddiadau,
A'i groesau o bob rhyw,
Yn ddigon i mi i farw,
Yn ddigon i mi i fyw;
Can's yn ei groes mae coron,
Ac yn ei wawd mae bri,
A thrysor yn ei gariad,
Sydd fwy na'n daear ni.

2 Pan byddo saethau angeu,
Yn glynu dan fy mron,
Ni thâl pleserau daear,
Mo'u caru'r fynyd hon:
Cael gweled wyneb Iesu,
Fu farw ar Galfari,
A wna i'm henaid ganu,
Yn ngwyneb angeu du.

**455.** *Digonoldeb Crist. . . M. N. 7, 6.*

O'R nef mi glywais newydd,
  Fe'm cododd ar fy nhraed,
Fod ffynon wedi'i hagor,
  I'r cleifion gael iachâd;
Fy enaid, hed yn ebrwydd,
  A phaid a llwfrhau,
O'th flaen mae drws agored,
  Na ddichon neb ei gau.

2 Fe ddaeth i wella'r archoll,
  Trwy gym'ryd clwyf ei hun;
Etifedd nef yn marw
  I wella marwol ddyn;
Yn sugno'n llwyr y gwenwyn
  A rodd y sarff i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnw
  Yn marw ar Galfari.

3 Bechadur, gwel E'n sefyll
  Yn llonydd ar y groes;
Clyw'r griddfan sy'n ei enaid
  Tan ddyfnder angeu loes;
O gwrando ar ei ruddfan,
  Mae pob ochenaid drud
Yn floedd yn nghlustiau'r nefoedd
  Am fadden beiau'r byd.

4 Gwel ar y croesbren chwerw
  Gyfiawnder mawr y ne',
Doethineb, a thrugaredd,
  Yn gorwedd mewn un lle,
A chariad anfesurol,
  Yn awr i gyd yn un,
Fel afon fawr lifeiriol
  Yn rhedeg at y dyn.

**456.** *Llawnder Crist... M. N.* 7, 6.

DAETH i mi iachawdwriaeth,
Trwy eitha' chwys a gwaed,
Mae 'n codi pechaduriaid
O'r dyfnder ar eu traed:
'D âi byth i 'mofyn haeddiant,
Trwy'r nef na'r ddaear lawr,
Ond haeddiant pen Calfaria,
Rhinweddau'r aberth mawr.

2 Fe'm siomwyd gan y ddaear,
Fe'm siomwyd gan y byd,
Fe'm siomwyd gan fy nghalon,
Fwy na chan rhai'n i gyd:
Mewn myrdd o demtasiynau,
A mil o groesau'r llawr,
Ni safodd neb yn ffyddlon,
Ond fy Eiriolwr mawr.

3 Brawd anwyl sy'n ein cofio
Mewn oriau cyfyng caeth,
Brawd llawn o gydymdeimlad,
Ni chlywyd am ei fath;
Brawd cadarn yn y frwydr,
Fe geidw'i frodyr gwàn,
Yn dirion dan ei aden,
Fe ddaw a'r llesg i'r làn.

**457.** *Goludoedd Crist... M. N.* 7, 6.

O IACHAWDWRIAETH hawddgar,
O iachawdwriaeth gref!
A ddaeth o'r nef i'r ddaear,
I'n dwyn o'r ddae'r i'r nef!
Yr Iesu pur a glwyfwyd,
Er gwir iachâd i'n briw;
Fe'i profwyd, fe'i perffeithiwyd,
Yn fythol Feddyg gwiw.

2 Awn ato dan ein clwyfau,
Ei glwyfau a'n iachâ;
Awn ato dan ein beichiau,
Ei wendid a'n cryfhâ:
Awn, awn, dan farn marwolaeth,
Ei angeu rydd in' fyw;
Mae'n awdwr iachawdwriaeth,
Iachawdwr cyflawn yw.

3 Awn ato Ef am gymod,
Am lawn faddeuant rhad;
Am rym yn erbyn pechod,
Am sanctaidd wir lanhâd;
Awn ato yn ddibryder
Am nerth i ddwyn y groes,
Awn ato Ef mewn hyder
Tan bob cystuddiol loes.

**458.** *Teilyngdod Crist. . . M. N.* 7, 6.

Y GWAED, y gwaed a lifodd
Ar groesbren un prydnawn
Yn hwnw y derbyniodd
Y ddeddf foddlonrwydd llawn;
Y gwaed, y gwaed a olcha
Bechadur du yn wyn;
Dadseiniwn Haleluia
Am waed Calfaria fryn.

2 Y gwaed, y gwaed a egyr
Holl ddorau'r nefoedd lon;
Y gwaed, y gwaed rydd gysur
Dan holl gurfëydd y fron;
Ar fryniau anfarwoldeb,
Pan yno sang fy nhraed,
Fy nghân am dragwyddoldeb
Gaiff fod—Y gwaed, y gwaed.

**459.** *Rhan yn Nghrist... M. N.* 7, 6.

FYTH, fyth rhyfeddai'r cariad,
Yn nhragwyddoldeb pell,
A drefnodd yn yr arfaeth
Im' etifeddiaeth well
Na'r ddaear a'i thrysorau,
A'i brau bleserau yn nghyd;
Fy nghyfoeth mawr diderfyn
Yw Iesu, Brynwr byd.

2 Ar noswaith oer fe chwysai
Y gwaed yn ddafnau 'lawr,
Ac ef mewn ymdrech meddwl
Yn talu'n dyled mawr;
Fe yfai'r cwpan chwerw
Wrth farw ar y pren;
Palmantodd ffordd i'r bywyd,
O'r ddaear hyd y nen.

3 Tragwyddol glod i'r cyfiawn
Fu farw tros fy mai;
Fe adgyfododd eilwaith
O'r bedd i'm cyfiawnhau:
Ar orsedd ei drugaredd,
Mae'n dadleu yn y ne'
Ei fywyd a'i farwolaeth
Anfeidrol yn fy lle.

**460.** *Digon yn Nghrist... M. N.* 7, 6.

O YSBRYD pur nefolaidd,
Cyn elwy' lawr i'm bedd,
Trwy ryw athrawiaeth hyfryd,
Gad i mi brofi'th hedd;
Maddeuant, O maddeuant,
Maddeuant cyfan rhad,
Yw'r cyntaf peth wy'n geisio,
Yr awrhon yn dy waed.

2 Mae ynddo nerth diderfyn,
Doethineb mawr yn rhad,
Deng miliwn o rinweddau
Yn rhagor yn y gwaed;
Mae ynddo bob rhyw angen,
Sydd ar bechadur gwan,
Tan filoedd o amheuon,
I godi ei ben i'r làn.

3 A raid i minau drengu
O eisiau dyfroedd clir?
'Rwy' bron llewygu'n tramwy
Y dyrys anial dir;
Dwg fi i'r dyfroedd tawel,
Y porfeydd gleision mawr,
Lle mae y rhai lluddedig
Yn rhoddi eu penau i lawr.

**461.** *Aberth digonol... M. N.* 7, 6.

UNWAITH am byth yn ddigon
I wisgo 'r goron ddrain,
Unwaith am byth yn ddigon
I ddyodde'r bicell fain,
Un aberth fawr gwirfoddol,
Ddyoddefodd ddwyfol lid,
Un Iesu croeshoeliedig,
Yn feddyg trwy'r holl fyd.

3 O dyma fawr ryfeddod,
I un ag oedd yn Dduw,
Ddyodde' a marw drosom,
Er mwyn i ni gael byw;
O gariad digyffelyb,
O gariad pur didrai,
Ddangoswyd ar Galfaria
I ni sydd lawn o fai.

3 Teilwng yw'r Oen a laddwyd,
O'r holl ogoniant mawr,
Trwy ganol nef y nefoedd,
Ac yma ar y llawr:
Pan elo'r greadigaeth
Yn ulw gan y tân,
Teilyngdod Iesu drosof
Fydd fy nhragwyddol gân.

**462.** *Anwylyd yr Eglwys. . . M. N.* 7, 6.

PWY welaf fel f' Anwylyd,
Yn hyfryd ac yn hardd,
Fel ffrwythlon bren afalau
'N rhagori ar brenau'r ardd;
Ce's eistedd tan ei gysgod,
Ar lawer cawod flin,
A'i ffrwyth oedd fil o weithiau
I'm genau'n well na gwin.

**463.** *Noddfa dawel. . M. N.* 7. 6.

O F'ENAID, gwel fath noddfa
Ddiysgog gadarn yw,
Yn nghanol cyfyngderau
Tragwyddol ras dy Dduw;
Dy noddfa glyd a'th drigfa,
A'th hyfryd dawel nyth,
Yn nyfnder pob cystuddiau
Fo dan ei aden byth.

2 O f'enaid, moria bellach
Yn mlaen tua'r nefol wlad;
Tawelodd Iesu'r stormydd
Oddiyma i dŷ fy Nhad:
Nac ofna mwy wrth forio,
Ti elli gael o hyd
Arogli o'i rhinweddau,
A gwel'd ei thrysor drud.

3 'Rwyf yn dy ddewis, Arglwydd,
Yn Briod ac yn Dduw;
Mae 'th angeu drud yn deilwng
O'm moliant tra b'wyf byw:
'Does arall dan y nefoedd
All roddi i mi hedd,
A gwneud im' orfoleddu
Pan b'wy'n wynebu'r bedd.

**464.** *Ystyriaeth ar gyflwr ieuenctyd... M. N.* 7, 6.

O PWY all beidio wylo
Wrth weled ie'nctyd glân
Yn dilyn llwybrau pechod,
A myn'd tuag uffern dân;
Gweddiwn ar i'r Arglwydd
Ar fyr ymwel'd â hwy,
Cyn delo'r dydd cyhoeddi
Na byddo galwad mwy.

2 Gwynfyd y rhai sy'n gwrando
Lleferydd Iesu gwiw;
Ac yn rhoi blodau'u dyddiau
Yn ufudd iawn i Dduw;
Cânt yma rai defnynau
O'r melys hyfryd hedd,
A nofio yn ei gariad
Yr ochr draw i'r bedd.

**465.** *Parch i'r Sabboth... M. N.* 7, 6.

MAE arnaf rwymau i ddiolch
Am wel'd dy eiriau gwiw,
Sy'n dangos pla fy nghalon,
A'r ffordd im' ddod at Dduw;
O Arglwydd dysg fi i ddarllen,
A 'nabod Iesu'n rhan,
Tra byddwy'n teithio'r anial
Fe gynal f'enaid gwan.

2 Fy nghydfforddolion ieuainc,
O perchwch Sabboth Duw!
Can's dydd o farchnad enaid
I ddyn am fywyd yw;
Ei oriau O defnyddiwch!
Yn moreu ddydd eich oes,
Fel caffoch adnabyddiaeth
O Grist a gwaed ei groes.

**466.** *Dechreu oedfa... M. N.* 7, 6.

WEL dyma oedfa newydd,
O Arglwydd dyro rym,
I ymladd â phla calon
A llid gelynion llym;
Mae llawer mil o bethau
Am gael fy mhen i lawr,
Nid oes a'm ceidw'n unig
Ond gallu'r Meddyg mawr.

2 O Arglwydd dysg im' chwilio
I wirioneddau'r gair,
Nes dod o hyd i'r Ceidwad,
Fu gynt ar liniau Mair:
Mae Ef yn Dduw galluog,
Yn gadarn i iachâu,
Er cymaint yw fy llygredd,
Mae'n ffynon i'm glanhau.

3 Pa Dduw yn mhlith y duwiau
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi madden'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n cri;
Nid byth y deil eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhau,
Er maint ein hanheilyngdod,
Mae'i gariad yn parhau.

**467.** *Dechreu oedfa... M. N.* 7, 6.

WEL dyma oedfa newydd,
  Duw rho dy fendith lawr,
Rho gymhorth ini ddadleu
  Dy addewidion mawr;
Cyfrana ddoniau 'th Ysbryd
  Yn hyfryd arnom ni,
Fel gallom gyda phleser
  Dy wir addoli di.

2 Rho gymhorth i weddio,
  A gwrando di ein cwyn,
Rho gymhorth i bregethu
  Dy wirioneddau mwyn;
Rho gymhorth ini wrando
  Yn syml gyda phwyll,
A chwenych fel babanod
  Y nefol laeth didwyll.

3 O Arglwydd dyro awel,
  A hono'n awel gref,
A godo f'Ysbryd egwan
  O'r ddaear hyd y nef;
Yr awel sy'n gwasgaru
  Y tew gymylau mawr,
Mae f'enaid am ei phrofi,
  O'r nefoedd doed i lawr.

**468.** *Cof am Grist... M. N.* 7, 6.

COF am y cyfiawn Iesu,
  Y Person mwyaf hardd,
Ar noswaith drom anesmwyth
  Fu'n chwysu yn yr ardd;
Ei chwys yn ddafnau gwaedlyd
  Yn syrthio ar y llawr;
Bydd canu am ei gariad
  I dragwyddoldeb mawr.

2 Cof am y llu o filwyr
   A'u gwaewffyn yn dod,
I ddala'r Oen diniwed,
   Na wnaeth ddim drwg erioed;
Gwrandewch y geiriau dd'wedodd,
   (Pwy all'sai ond efe!)
Gadewch i'r rhai'n fyn'd ymaith,
   Cymerwch fi'n eu lle.

3 Cof am ein Harglwydd Iesu,
   Cyn iddo blygu ei ben,
Yn dweyd y gair "Gorphenwyd,"
   Cyn marw ar y pren;
Ac yna fe 'madawodd,
   I'r nef ei enaid aeth:
Bydd canu am ei goncwest
   I dragwyddoldeb maith.

**469.** *Wrth adael y bwrdd... M. N.* 7, 6.

FFARWEL, gyfeillion anwyl,
   Dros enyd ni 'madawn,
Tra byddom yn y rhyfel
   Gwnaed Duw ni'n ffyddlon iawn;
Ar fyr fe wawria'r bore,
   Cawn gwrddyd uwch y llawr,
I wledda yn dragywydd
   Yn mhlith y dyrfa fawr.

2 'Fydd yno neb yn athrist,
   Gan unrhyw friw na phoen,
Ond pawb a'u tanau'n dỳnion,
   Yn moli'r addfwyn Oen;
Hwy ganant Haleluia,
   Mewn nefol hyfryd iaith;
Bydd mwy fwy eu dyddanwch
   I dragwyddoldeb maith!

**470.** *Craig yn sylfaen... M. N.* 7, 6.

AM graig i adeiladu,
  Fy enaid chwilia'n ddwys!
Y sylfaen fawr safadwy,
  I roddi arni'th bwys:
Bydd melys yn yr afon,
  Gael craig a'm deil i'r làn,
Pan byddo pob rhyw stormydd
  Yn curo ar f'enaid gwàn.

2 O fewn i'r graig nid ofnaf
  Elynion gwaetha'u gwedd;
O fewn i'r graig mi ganaf,
  Yn ngwyneb angeu a'r bedd;
O fewn i'r graig gorchfygaf
  Fy holl elynion câs;
Y graig yw'm hamddiffynfa,
  Tra byddwyf ar y maes.

3 Am graig yr iachawdwriaeth,
  Fy enaid egwan cân;
Y sylfaen fawr dragwyddol,
  A'r hyfryd gongl-faen;
Fy noddfa rhag ystormydd,
  Ny nghysgod rhag y gwres;
Mae'n ganmil mwy rhagorol
  Na chedyrn furiau prês..

**471.** *Rhyddid i'r Caethion... M. N.* 7, 6.

AGORODD ddrws i'r caethion,
  I ddod o'r cystudd mawr,
A'i werthfawr waed fe dalodd,
  Ein dyled oll i lawr,
Nid oes dim damnedigaeth
  I neb o'r duwiol had,
Y gwaredigion canant
  Am rinwedd mawr ei waed.

2 Fe genir ac fe genir,
Yn nhragwyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin
Mor llesg ar ben ei daith,
A gurwyd mewn tymhestloedd,
A olchwyd yn y gwaed,
A gànwyd ac a gadwyd,
Trwy iachawdwriaeth rad.

3 Wel dyma'r un sy'n maddeu
Pechodau rif y gwlith,
'Does mesur ar ei gariad,
Na therfyn iddo byth;
Mae'n 'mofyn lle i dosturio,
Mae'n hoffi trugarhau,
Trugaredd i'r amddifaid
Sydd ynddo i barhau.

**472.** *Byw yn dduwiol...M. N.* 7, 6.

WRTH deimlo grym fy llygredd,
'Rwy'n ofni tynu 'n ol,
Duw dyro nerth bob mynyd
I redeg ar dy ol;
Rho i mi ysbryd gwylio,
Tra byddwyf ar y llawr,
A chadw ofn duwiol
Yn f'enaid bob rhyw awr.

2 Rho gymhorth i ryfela,
A ngolwg ar y gwaed,
Nes cael y gelyn ola'
O'r diwedd dan fy nhraed;
Trwy ffydd gwna i mi edrych
Yn graff i'r ochr draw;
Yn ngwyneb profedigaeth,
O cynal fi yn dy law.

3 Dysg i mi brynu'r amser,
A'i dreulio i ti'n llwyr,
Myfyrio ar dy gariad,
O'r boreu hyd yr hwyr;
Dal fi a'th fraich dragwyddol,
Oddiyma hyd y bedd
A dwg fi ar ddelw Iesu
I mewn i wlad yr hedd.

**473.** *Gwerth Crefydd.. . M. N.* 7, 6.

AM grefydd ymofynwn,
A cheisiwn nes ei chael;
Gall hon ein dal a'n llòni,
Pan fo'm ar wely'n wael;
Gall fyw mewn cyfyngderau,
Rhydd oleu yn y glyn;
A medi geir o'r ffrwythau
Byth fry ar Sïon fryn.

2 Gwir grefydd ddeil i fyny
Ein hysbryd, tra b'om ni
Yn dysgwyl am y gobaith
Tra gwynfydedig fry;—
Sef dysglaer ymddangosiad
Ein Harglwydd hael o'r nef;
A'n ffydd yn tawel bwyso
Ar ei addewid ef.

**474.** *Dirgelwch Duwioldeb. . . M. N.* 7, 6.

O FOROEDD o ddoethineb
Oedd yn y Duwdod mawr,
Pan y cyfranai'i gariad
I bryfed gwael y llawr;
A gwneuthur i'w drugaredd,
A'i dostur maith yn nghyd,
I redeg megys afon
Lifeiriol dros y byd!

2 Daeth i mi iechydwriaeth
Drwy rinwedd gwaed ei groes,
Caed i mi bob cyflawnder
Er mwyn ei farwol loes;
Y gyfraith lân droseddwyd
A ga'dd anrhydedd llawn;
Cyfiawnder a foddlonwyd
Yn ei anfeidrol Iawn.

**475.** *"Eto mae lle."... M. N.* 7, 6.

FE dorodd Iesu 'r muriau,
A'r cedyrn ddorau pres,
Oedd rhyngom ni a'r bywyd;
Mae 'r gwynfyd heddyw 'n nes:
Ffordd newydd a agorwyd,—
Mae 'r pyrth o led y pen,
O ymyl dinas dystryw,
I entrych nefoedd wen.

2 Doed tlodion ac efryddion,
A'r gwywedigion oll;
Fe 'u gwneir trwy Grist yn agos,
'Does achos bod ar goll:
Mae Salem heb ei llenwi,
Mae ynddi le o hyd
I bob rhyw iaith a phobl,
O bedwar parth y byd.

3 O Arglwydd galw eto
Fyrddiynau ar dy ol,
A thòr yr holl gadwynau
Sy'n dal eneidiau 'n ol;
A galw hwynt o'r dwyrain,
Gorllewin, gogledd, de,
I'th eglwys yn ddiattal,
Mae digon eto o le.

**476.** *Preswyl y Goruchaf. .. M. N.* 7, 6.

PRESWYLFAN y Goruchaf
Yw trugareddfa'r arch;
Y dwyfol haeddiant perffaith
A rodd i'r gyfraith barch;
Oddiyno rhed bendithion
Yr addewidion mawr,
Yn siriol ffrwd cysuron
I Sïon ar y llawr.

2 Mae hylwydd afon helaeth
Yr iechydwriaeth wiw;
A'i ffrydiau goleu gwiwlwys
Yn dod i eglwys Dduw;
Mae'n rhoi llawenydd calon
I'r dinasyddion sydd
I'r Iesu'n wir ddilynwyr,
Trwy feddu cywir ffydd.

**477.** *Gobeithio yn Nghrist. .. M. N.* 7, 6.

PWY glywodd am bechadur
Mewn unrhyw oes na gwlad,
Erioed a ddaeth at Iesu,
Fu farw wrth ei draed?
Ni thyr y gorsen ysig,
Ni wrthyd neb a ddaw,
Ni ddiffydd lin yn mygu,
Af ato yn ddifraw.

2 Mi glywais sôn am dano,
Mi glywais lawer gwaith,
Fod ynddo drugareddau
Sydd fwy nâ'r moroedd maith;
Ymbiliaf am drugaredd,
A dysgwyl byth y'm cair;
Os trengu wnaf, mi drengaf
A'm gobaith yn ei air.

**478.** *Ofni pechu. . . M. N.* 7, 6.

TRA byddwyf yma 'n teithio
  Ar wyneb daear lawr,
Rho rym i'th anrhydeddu
  A'th ofni, Arglwydd mawr;
Gwna i mi ofni pechu
  Yn fwy nag ofni 'r tân,
A charu yn fy nghalon
  Dy union gyfraith lân.

**479.** *Byr gystuddiau. . . M. N.* 7, 6.

ER dyoddef blin gystuddiau,
  Peth am ddeng niwrnod yw;
Try pob peth er daioni
  I'r rhai sy'n caru Duw;
Ac hefyd, o'i drugaredd
  Ceir nerth yn ol y dydd,
A chymhorth fel bo'r achos,
  Ond i ni fyw drwy ffydd.

2 Am hyny byth diolchaf
  Fy mod hyd heddyw 'n fyw,
Er gwaethaf grym y gwyntoedd,
  Fy Nhad sydd wrth y llyw;
Af bellach drwy'r tymhestloedd,
  Yn dawel yn ei law,
Nes taflo'r dòn ddiweddaf
  Fi 'n iach i'r porthladd draw.

**480.** *Hyder a Gwroldeb. . . M. N.* 7, 6.

MI ganaf mewn llawenydd,
  Daeth Iesu i'm rhyddhau,
Mae'r dedwydd ddydd yn dyfod
  Y derfydd fy holl wae;
Mi lechaf yn y ddaear,
  Caiff llwch at lwch i fyn'd,
O angeu, ti gai wybod
  Fod Iesu i mi'n Ffrynd.

2 Mi bwysaf ar ei fynwes,
Eisteddaf dan ei groes,
A daliaf afael arno
Yn nyfnder angeu loes;
Mae f'enaid gwan yn credu
Cai'r delyn yn fy llaw
Yn mhlith y dorf aneirif,
Ar fyr yr ochr draw.

**481** *Rhagluniaethau trallodus.... M. N.* 7, 6.

ENEIDIAU llesg ac ofnus,
Cymerwch gysur cry',
Mae'r holl gymylau duon
Sy'n creu'r fath fraw i chwi,
Yn llawnion o drugaredd,
A thòrant yn y man,
Yn gawod o fendithion,—
Hyn fydd eich dedwydd ran.

Na fernwch Dduw wrth deimlad,
Ond bydded genych ffydd,
I bwyso arno'n gadarn
Am nerth yn ol eich dydd;
Tu draw i ragluniaethau
Fo'n gwgu'n erchyll iawn,
Mae'n cuddio wyneb siriol
Sy'n gwisgo gwenau llawn.

**482.** *Goruchafiaeth yr Efengyl. .. M. N.* 7, 6.

FE dòrwyd careg allan
O'r mynydd nid â llaw;
Bydd iddi lenwi'r gwledydd
Ryw hyfryd ddydd a ddaw;
A bydd i'r gareg hòno
Cyn hir falurio'n lân
Y delwau meirw a dylion,
Yn fawrion ac yn fân.

2 Fe â'r newyddion gorau
I gonglau pella'r byd;
Bydd mynydd tŷ yr Arglwydd
Goruwch y bryniau i gyd;
Gwledd lawn o basgedigion,
Yn mynydd Sïon sydd;
Wynebau tuag ato
Ryw filoedd eto fydd.

**483.** *Cleddyfau'n sychau... M. N.* 7, 6.

DAW'r dydd i droi'r cleddyfau
Yn sychau cyn bo hir,
Troir hefyd yn bladuriau
Y gwaewffyn, mae'n wir;
A derfydd y terfysgoedd,
A'r swn rhyfeloedd sydd;
Pêr seinio Haleluia
Yn lle rhyfela fydd.

2 Daw dynol draddodiadau,
Rai gau i lawr i gyd;
Bydd enw'r addfwyn Iesu
I fyny drwy'r holl fyd;
Ei wir lywodraeth hefyd,
Heb syflyd, fyth a sai';
Cyfraned eto ragor
O'i drysor—mae'n ddidrai.

**484.** *Dryllio'r delwau... M. N.* 7, 6.

AED sôn am Geidwad enaid
I dir yr India draw,
A boed i filwyr Sïon
Orchfygu ar bob llaw;
I lawr y delo'r delwau,
A'r holl eilunod mud;
A'r Iesu fo'n teyrnasu
Dros holl derfynau'r byd.

**485.** *Emyn Genadol... M. N. 7, 6.*

O GREENLAND oer fynyddig,
O draethau'r India fawr,
Lle cluda ffrydiau Affric
Y tywod aur i lawr;
O lawer gwlad ddyfradwy,
O lànau'r palmwydd gwyrdd,
Erfyniant ein cynorthwy,
Rhag coel grefyddau fyrdd.

2 A allwn ni oleuwyd
Drwy rad y nefoedd fry,
Nacâu rhoi llusern bywyd
I'r sawl mewn tywyllwch sy?
Cyhoedder iechydwriaeth
A gorfoleddus lef,
Nes dysgo'r byd wybodaeth
O gû Eneiniog nef.

3 Ewch, wyntoedd, ewch â'r newydd,
Ymdreigla, dòn, o hyd,
Nes fel rhyw fòr o glodydd
Y taeno dros y byd:
Nes daw yr Oen fu'n gwaedu
Dros feiau'r byd yn rhad,
Mewn gwynfyd i deyrnasu
Dros ei brynedig hâd.

**486.** *Brawd erbyn caledi... M. N. 7, 6.*

HOSANA, Haleluia,
Fe anwyd brawd i'ni,
Fe dalodd ef ein dyled
Ar fynydd Calfari:
Brawd yw mewn dydd cyfyngder,
A ddeil fy mhen i'r lân;
Brawd yw a gâr bob amser,
Yn nghanol dwfr a thân.

2 Brawd anwyl sy'n ein cofio
Mewn oriau cyfyng caeth,
Brawd llawn o gydymdeimlad,
Nid oes yn bod ei fath;
Brawd cadarn yn y frwydr,
A geidw'i frodyr gwàn;
Yn dirion dan ei aden
Fe ddaw â'r llesg i'r làn.

**487.** *Ymadawiad a'r byd. . . M. N.* 7, 6.

AR fyr caf rodio'r llwybr,
Na ddeua'i byth yn ol,
Mi rof ffarwel dragwyddol
I'r holl forwynion ffôl;
Fe dderfydd sôn am bechod,
Cystuddiau, poen, a braw,
Gwynfyd ga'i draw'r Iorddonen,
Balmwydden yn fy llaw.

2 Ymado wnaf â'r babell,
'Rwy'n trigo ynddi'n awr;
Colofnau'r tŷ ddattodir,
Fe'u cwympir oll i lawr;
A pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy,
'Rwy'n canu wrth gofio'r bore,
Na welir arna'i glwy'.

3 Os gwelir fi bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith;
Yn seinio buddugoliaeth
Am iachawdwriaeth lawn;
Heb ofni colli'r frwydr
Y boreu na'r prydnawn.

**488.** *Glyn cysgod angeu... M. N. 7, 6.*

'RWY'N tynu tua'r terfyn,
'Rwyf ar ddisgynfa'r bryn;
Ai dyffryn cysgod angeu
Yw'r dyffryn tywyll hyn?
I'r didranc dragwyddoldeb,
Heb undyn imi'n blaid,
Rhwng ofni a gobeithio,
Anturio iddo raid.

2 Nac ofna, cred, fy enaid,
Yr Arglwydd yw dy Dduw,
Efe yw'r adgyfodiad,
A'r bywyd hefyd yw;
Dan chwerwon loesau marw
Gafaela yn ei air,
Yr hwn a gredo ynddo,
Er marw fe'i bywheir.

**489.** *Cyfaill yn angeu... M. N. 7, 6.*

O AM gael Iesu'n Gyfaill,
A'm dalio i'r awr a ddaw,
Pan byddo angeu 'n curo,
A phawb yn cilio draw;
Pryd hyn bydd da bod Iesu
Yn Gyfaill ac yn Frawd,
I'm harwain trwy'r Iorddonen,
Lle na ddaw braich o gnawd.

2 Mae golwg ar byrth angeu
Yn erchyll iawn i mi;
A dyfroedd yr Iorddonen
Yn ddyfnion ac yn ddu;
Bydd rhodio'r dyffryn tywyll
Yn drwm i'm henaid trist;
A'r ffordd yn dra dyeithr,
Heb gwmni Iesu Grist.

3 Nid oes ond gwel'd fy Mhrynwr
Yn gwaedu ar y bryn;
A ffydd i 'maflyd ynddo,
A'm cynal i'r pryd hyn;
Fe wared rhag euogrwydd
Ac ofnau angeu du;
Fe wna fy ffordd yn hyfryd
Oddi yma i'r Ganaan fry.

**490.** *Digon yn angeu... M. N.* 7, 6.

PWY ddyry im' falm o Gilead,
Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneud i'm hysbryd edrych
Heb ofni ar y bedd;
A dianc ar wasgfeuon,
Euogrwydd creulon cry'?
'Does neb ond ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

2 Mae yma fôr o gysur,
Yn llifo i fy rhan;
Er bod holl rwydau Satan
Yn erbyn f'enaid gwan:
Bwriadwyd oll eu tori,
A'r bwriad ddaw i ben,
Mor siwr a'r bwriad hwnw
O farw ar y pren.

**491.** *Tawelwch yn angeu... M. N.* 7, 6.

Y MAE arwyddion angeu
Yn curo dan fy mron,
Yn dweyd fod rhaid ymadael
O'r babell briddlyd hon;
Wrth feddwl croesi'r afon,
Mae f'enaid i mewn braw;
Er hyny 'rwy'n hiraethu
Am fod yr ochr draw.

2 Pan ddelo'r awr i fyny,
  A deued yn ei phryd,
Doed angeu pan y delo,
  Ffarwel, ofidiau'r byd;
I arall fyd y'm ganwyd,
  I arall fyd 'rwy'n myn'd,
Ni cheisiaf neb ond Iesu
  Wrth fyn'd oddiyma'n ffrynd.

3 Fe ddaw fy nghorff o'r beddrod,
  Fel fy Anwylyd cu,
Heb unrhyw nwyd lygredig
  I'm blino fel y bu;
Yn nghanol myrdd myrddiynau
  Caf hyfryd lawenhau,
A'r anthem oll fydd cariad,
  A chariad i barhau.

**492.** *Cyfarfod y nef. . . M. N.* 7, 6.

AF finau i'r Iorddonen
  Yn ddiau maes o law,
Ond trwy yr Archoffeiriad
  Caf làn yr ochr draw;
Diangaf ar elynion,
  Yn iach i Salem dir,
I hwylio'r delyn auraidd
  A meddu'r gwynfyd hir.

2 Mae yno lu o frodyr
  Yn awr ar ben eu taith,
Yn ddedwydd wedi gorphen
  Eu pererindod maith;
Bu melys eu cyfeillach
  I mi yr ochr hyn,
Ond bydd yn fil melusach
  Byth fry ar Sïon fryn.

3 Fy enaid paid ag ofni,
Mi welaf gyrau'r wlad,
Fy etifeddiaeth werthfawr,
Terfynau tŷ fy Nhad:
Caf yno wledda'n hyfryd
Ar ffrwythau 'r Ganaan bêr,
A llawenhau mewn gwynfyd
Tragwyddol uwch y sêr.

4 Caf yno weled Iesu
Fu farw yn fy lle,
I'm hachub rhag y fflamiau
A'm dwyn i deyrnas ne';
Caf orphwys yn ei fynwes,
Heb aflonyddwch mwy,
A chanu byth heb dewi
Am ras ei farwol glwy'.

**493.** *Adgyfodiad gorfoleddus... M. N.* 7, 6.

Y BEDDAU tywyll egyr
Oll ar y boreu wawr,
Y seintiau'n anllygredig
Gyfodant fach a mawr,
Ar wedd Tywysog heddwch,
Heb un dan glwyf na phoen,
'Does tafod all fynegi
Rhagorfraint gwraig yr Oen.

2 Bydd myrdd o ryfeddodau
Ar doriad bore wawr;
Pan ddelo plant y tònau,
Yn iach o'r cystudd mawr;
Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg i'w Hanwylyd,
Yn dod i'r làn o'r bedd.

**494.** *Clorianau y farn... M. N.* 7, 6.

Y GWR fu ar Galfaria,
  A welir maes o law;
Yn eistedd ar ei orsedd,
  A'r glorian yn ei law;
A phawb a gesglir yno,
  I'w pwyso ger ei fron;
O f'enaid cais dduwioldeb,
  A droddo'r glorian hon?

2 Daw dydd o brysur bwyso
  Ar grefydd cyn bo hir;
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
  A phwy sydd heb y gwir:
O Dduw rho im' adnabod
  Ar f'ysbryd ôl dy law,
Can's dyna'r ddelw a'r argraff
  A arddelir ddydd a ddaw.

**495.** *Golwg ar y nef... M. N.* 7, 6.

O AM gael golwg newydd
  Ar gyrau'r hyfryd wlad,
Lle tyfa pren y bywyd,
  A ffrwythau cariad rhad;
Mae yno bob danteithion
  I loni'r clwyfus rai,
A chroeso i mi wledda
  Er cymaint yw fy mai.

2 Mae weithiau yn fy enaid
  Ryw chwant i fod yn rhydd,
Yn debyg i fy mrodyr
  Sydd wedi cario'r dydd;
Ar ddysglaer wedd fy Mhriod,
  Heb bechod, briw, na phoen;
Caf yno ganu'n beraidd
  Am rinwedd gwaed yr Oen.

**496.** *Can y Gwaredigion. . . M. N.* 7, 6.

O ENW ardderchocaf,
  Yw enw marwol glwy',
Caniadau'r holl angylion
  Fydd y fath enw mwy;
Bydd yr anfeidrol ddyfais
  O brynedigaeth dyn,
Gan raddau filoedd yno
  Yn cael ei chanu'n un.

2 O Arglwydd rho i mi dafod
  Na thawo ddydd na nos,
Ond adrodd heb ddiffygio
  Am rinwedd gwaed y groes;
Na ddelo gair o'm genau,
  Yn ddirgel nac ar g'oedd,
Ond am fod Iesu anwyl
  Yn wastad wrth fy modd.

3 O Iesu pwy all beidio
  Dy ganmol ddydd a nos?
A phwy all beidio cofio
  Dy farwol ddwyfol loes?
A phwy all beidio a chanu
  Am iachawdwriaeth rad,
Ag sydd yn teimlo gronyn
  O rinwedd pur dy waed?

4 Ni fedr daear ganu,
  A'i holl soniarus lef,
Ganiadau gan felysed
  Fydd yn ei gwm'ni ef;
Ond nawr holl nef y nefoedd,
  Mewn un hyfrydaf dôn,
A seiniant gyd â'u gilydd
  Ogoniant mawr yr Oen.

**497.** *Diweddiad. . . M. N.* 7, 6.

TANGNEFEDD Duw yn ddiball,
Sydd uwchlaw deall dyn,
A gadwo ein calonau,
A ninau ynddo'n un;
A gras ein Harglwydd Iesu,
A chariad UN yn DRI;
Cymdeithas ei Lân Ysbryd
Fo'n hyfryd gyd â ni.

**498.** *Derbyniad gweinidogion. . . M. N.* 7, 6. 4 *llin.*

O MOR hardd yw traed y rhai
Sydd yn cyhoeddi hedd;
Sïon gorfoleddu mae
Wrth iddi wel'd ei gwedd.

2 Enill dynion at eu Duw
Yw eu hyfrydaf waith;
Gwneud eneidiau marw 'n fyw
I dragwyddoldeb maith.

3 Gyda chlod i Dduw a Christ,
Mi a'ch derbyniwn chwi;
Llawenhaed eneidiau trist,
Mae'n nefoedd gyda ni.

**499.** *Morio yn mlaen. . . M. N.* 7, 6. 3 *llin.*

MORIO 'mlaen yr wyf o hyd
Tua'r ddedwydd Ganaan glŷd,
Fy nhad sydd wrth y llyw;
O fe fydd yn hyfryd,
Hyfryd, hyfryd, hyfryd,
O fe fydd yn hyfryd,
Cael y lân yr ochr draw.

2 Rhwng y tònau geirwon croes,
Pwysaf ar yr hwn a roes
Ei waed o blaid y gwàn;
O fe fydd yn hyfryd, &c.
Cael fy mywyd gyda Christ.

**500.** *Cwrdd yn y nef...M. N.* 7, 6. 3 *llin.*

PAWB sydd yma'n caru Duw,
Gwedi marw a gânt fyw,
A chanu yn y nef:
O hyn fydd yn hyfryd, &c.
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

2 Pawb brofasant yma hedd
Iesu—a gânt wel'd ei wedd,
A chanu iddo byth:—O hyn &c.

3 Duwiol a sancteiddiol blant
Sy'n gweddio, yno'r ânt,
O'r holl ysgolion Sul:—O hyn &c.

4 Ein hathrawon rhad a rhydd,
A'n rhieni yno fydd
Dros byth yn llawenhau:—O hyn &c.

Ein bugeiliaid gyda hwy
Yno fydd heb ofid mwy,
A'u bronau'n llawn o hedd:
O hyn fydd yn hyfryd, &c.
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

**501.** *Cwrdd yn y nef...M. N.* 7, 6. 3 *llin.*

YMA cûr a blinder gawn,
Yma cwrdd i 'madael wnawn,
Nid felly yn y nef:
O hyn fydd yn hyfryd, &c.
Cwrdd heb byth ymadael mwy.

**502.** *Yr enaid blinderog. . . M. N.* 7, 6, 8.

LLAWN o ofid, llawn o wae,
A llawn euogrwydd du,
Byth y byddaf yn parhau,
Heb gael dy gwin'ni cu:
Golwg unwaith ar dy wedd,
A'm cod i'r làn o'r pydew mawr:
O fy Nuw nac oeda'n hwy,
Rho'r olwg imi'n awr.

2 Gwel y truan, gwel y tlawd,
Yn gorwedd wrth dy draed;
O Samariad bydd yn frawd,
Adfera im' iachad:
Dyro olew yn fy mriw,
A chod fi ar dy anifail cun,
Ac nis gall fyth fyth fy nwyn,
Ond dy gallu di dy hun.

3 Dyrus daith i mi sydd wan,
A bryniau maith o'm blaen;
Mi a frawychais lawer gwaith,
Rhag grym y fflamiau tân;
Mae'r Iorddonen heddyw'n fawr,
Os gwir ddychymyg f'enaid gwàn:
Tyred Arglwydd iddi lawr,
Ac yna dôf i'r làn.

**503.** *Angeu Crist. . . M. N.* 7, 6, 8.

IESU, y dirmygedig un,
Ddyoddefodd angeu loes;
Gan ryw ddienyddwyr llym,
Yn wirion ar y groes;
Y gruddfanau rodd E' maes,
Ddaeth a'r trueiniaid oll yn rhydd;
Bellach holl ganiadau'r nef
Byth am Galfaria fydd.

2 O foreu-ddydd ddedwydd iawn,
Pan ddelo'r dorf yn un,
O bob cŵr i'r ddaear faith,
I gwrdd a'u Harglwydd cun;
Derfydd gofid a phob gwae,
Derfydd temtasiynau maith,
Derfydd pechod mawr ei rwysg,
A derfydd dyrus daith.

3 Ac wrth wel'd yn agosâu
Fath hyfryd fore wawr;
Un diwrnod goleu clir,
Maith dragwyddoldeb mawr:
Pa'm na bawn yn llawen iawn,
Hyn wy'n 'mofyn ei fwynhau,
A thyma fref fy enaid gwan,
Ei wel'd yn agosâu.

**504.** *Can y Pererinion... M. N.* 7, 6, 8.

COD fy enaid, cais yn awr,
Dy ran o fewn y ne',
Cod oddiwrth deganau'r llawr
I'th enedigol le;
Holl elfenau'r ddaear hon
Doddant ymaith cyn bo hir,
Cod fy enaid, brysia'n llon
I'r hoff drigfanau pur.

2 Rhêd y dyfroedd yn y blaen
I'r môr heb aros dim,
At yr haul y cyrcha'r tân,
Er lleied fo ei rym;
Felly'r anian sydd o Dduw
Llefain mae am wel'd ei wedd:
Tynu wna i'w hanedd wiw,
I aros yn ei hedd.

3 Bererinion na thristewch,
Ond cyrchwch at y nôd,
Gwel'd eich Iesu'n fuan gewch
Ar gwmwl goleu'n d'od;
Enyd fechan a chewch chwi
Rwydd-fynediad ato ef,
Gadael gwaeau heb ddim rhi',
A'u newid am y nef.

**505.** *Cysgu yn y bedd. . . M. N.* 7. 6, 5.

MI gysgaf hûn yn dawel
Dros enyd yn y grafel,
Nes dadrus trefn y rhod;
Ac yna mewn hedd, mi godaf o'm bedd,
Ar ddysglaer wedd fy mhriod;—

2 I dderbyn nefol goron,
A gwisgo'r gwisgoedd gwynion,
A gwledda'n Sïon fry:
Heb lygredd na chlwy', na gelyn byth mwy,
I dramwy yno i'm poeni.

**506.** *Caersalem dawel. . . M. N.* 7, 6, 5.

HENFFYCH i'r boreu hyfryd,
'Ddaw gelyn byth nac adfyd,
I dir y bywyd fry:
Y seintiau ddaw 'nghyd, bob wyneb i'r byd,
Yn unfryd yno i ganu.

2 Fry yn Nghaersalem dawel,
Yn mhell o sŵn y rhyfel,
Caf uchel ganu clôd;
Fy nefoedd ddiboen, fydd gweled yr Oen,
Fe dderfydd sôn am bechod.

3 Caf wel'd y Bod anfeidrol,
Y Tri yn Un tragwyddol,
Rhyfeddol nefol Oen;
Fe'm tynodd yn lân, bentewyn o'r tân,
Fy enaid cân yn gyson.

**507.** *Nerthu'r gwan. . . M. N. 7, 6, 5.*

TRUGAREDD sy'n teyrnasu,
Gan godi'r gwàn i fyny,
A'i nerthu'n ol ei ddydd,
I deithio yn mlaen, er dŵr ac er tân,
Tua'r Ganaan nefol beunydd.

2 Ac yno y gorphwysa,
Pan y gorpheno'i yrfa,
Mewn noddfa nefol rydd:
Ac yna heb friw, caiff ganmol ei Dduw,
A dedwydd fyw'n dragywydd.

**508.** *Son am Grist. . . M. N. 7, 5, 8.*

AED sôn drwy'r byd am Iesu,
Ddatguddiodd o'i ras i ni,
Ei fawr ddoethineb;
Prysured y newyddion,
Trwy ddawn, at bob rhyw ddynion,
Am ei diriondeb:
Ef yw, yr un ordeiniodd Duw,
Yn iawn a chymod,
Dros bob rhyw bechod,
A mawr ryfeddod
Oedd canfod Iesu gwiw,
Yn myn'd dan ddyrnod angeu,
Fel byddai i ni gael byw:
Mae'n ben y llu tu draw i'r llen,
Ac yn teilyngu
Ei anrhydeddu
Am iddo'n caru,
A'n prynu ar y pren,
Rhown iddo'r holl anrhydedd
A'r mawredd mwy—Amen.

**509.** *Yr adgyfodiad... M. N.* 7, 5, 8.

CAWN weled rhyfeddodau,
A chlywed sŵn caniadau
  Yr adgyfodiad;
Holl ddyffryn angeu'n deffro,
Bydd rhyfedd gynwrf drwyddo,
  Wrth floedd yr alwad;
Peth syn! yr esgyrn sychion hyn
  Fu'n wael eu helynt,
  Daw cnawd teg arnynt,
  A bywyd iddynt;
A'u gwawr yn ddigon gwyn,
Cânt godi'n llu anfarwol
  I'r nefol freiniol fryn;
Lle bydd y bronau gynt fu'n brudd
  Ar feusydd gwynfyd,
  Dan lewyrch hyfryd
  Yr Haul na fachlud,
Mewn bywyd rhyfedd rydd,
Uwchlaw y du dymhestloedd
A'u daliodd yn eu dydd.

**510.** *Teyrnas Crist... M. N.* 7, 5, 6, 8, 9.

TEYRNASA Iesu mawr
  Dros y ddaear lawr;
Bydd mynydd tŷ ein Harglwydd ni
  Yn fawr ei fri,
  Uwch mynyddau'r llawr,
  Pan dyr nefol wawr;
Daw pobloedd lawer o bob gwlad,
At ei draed, am ryddhâd a iachâd,
Fe fydd ryfedd, wiw orfoledd,
Sŵn clodforedd, hyfryd iawn;
Sain Hosana, Haleluia,
Fydd yn uchel am Galfaria,
  Pan ddel Jubil lawn.

**511.** *Nadolig*. . . *M. N.* 7, 5, 6, 8, 9.

HOSANNA heddyw sydd,
Swn nefolaidd fydd,
Wrth gofio'r awr daeth Iesu mawr
O'r nef i lawr;
Gwawrio wnaeth y dydd,
Caethion ddaeth yn rhydd:
Cawd clywed gan angylion Duw,
Hardd eu lliw, Iesu yw gwir Fab Duw,
Anwyd i ni Ceidwad ydyw,
Bywyd meirw, Brenin nef,
Hwn yw'r Seren draw'n y Dwyrain,
Llawn goleuni fel yr haulwen
Ddaeth o'r nefoedd wen.

**512.** *Amynedd Duw*. . . *M. N.* 7, 4.

Rhyfedd na buaswn nawr
Yn y fflamiau;
Wedi cael fy nhori lawr
Am fy meiau;
Gan fy mod i heddyw'n fyw,
Mi rof deyrnged
Clod a mawl i'm Harglwydd Dduw,
Am fy arbed.

2 Rhyfedd yw i Dduw erioed
Edrych arnaf;
Mawr yw'm rhwymau i roi'r clod
I'r Goruchaf;
Os cai 'nwyn i ben fy nhaith
Yn ddiangol,
Moli Iesu fydd fy ngwaith
Yn dragwyddol.

**513.** *Anwylyd yr Eglwys... M N. 7, 4.*

GWYN a gwridog, hawddgar iawn
Yw f'anwylyd;
Doniau'r nef sydd ynddo'n llawn,
Peraidd hyfryd;
Daear faith ac uchder nef
Byth ni wela'
Arall—tebyg iddo Ef:
Haleluia.

2 Denodd f'enaid ar ei ol,
Yn dra rhyfedd,
A gorphwysaf yn ei gôl
Hyd y diwedd:
Ffowch eilunod o bob rhyw,
Mwy ni charaf
Wrthrych arall ond fy Nuw:
Haleluia.

**514.** *Brwydr Calfaria... M. N. 7, 4.*

DACW'R deg gorchymyn pur,
Ar Galfaria,
Dacw'r hwn wnaeth fôr a thir
Yn y ddalfa;
Dacw'r ddeddf yn gofyn iawn
Hyd yr eitha',
Dacw iddi daliad llawn,
Haleluia.

**515.** *Hynodrwydd Calfaria... M. N. 7, 4.*

CHWENYCH cofio 'rwyf o hyd
Am Galfaria,
Man sydd hynod yn y byd
Yw Calfaria,
Bu rhyw frwydr ryfedd iawn
Ar Galfaria,
Cawsom fuddugoliaeth lawn
Haleluia.

2 Nef ac uffern ddaeth yn nghyd
Ar Galfaria,
Man gwnawd prynedigaeth ddrud
Yw Calfaria,
Daeth y gair 'Gorphenwyd' maes
Ar Galfaria,
Ac fe lifodd afon gras
Haleluia.

3 O Galfaria daeth fy hedd,
A fy mywyd;
Ac oddiyno mae fy ngwledd
Nefol hyfryd;
Dan ei gysgod tawel gwiw
Byth arosa',
Yno canaf tra b'wyf byw,
Haleluia.

**516.** *Clod i'r Gwaredwr... M. N.* 7, 4.

DEFFRO 'nghalon, deffro 'nghân,
I ddyrchafu
Dirfawr glod fy Arglwydd glân,
Brenin Iesu;
Uno wnaf â llu y nef,
A'm holl awydd,
I glodfori'i enw Ef
Yn dragywydd.

2 Crist yw Mhrynwr, Crist yw Mhen,
A'm Hanwylyd;
Crist yw'm hetifeddiaeth wen,
Crist yw mywyd;
Crist yw'm gogoneddus nef,
Annherfynol,
Gwleddaf ar ei gariad Ef
Yn dragwyddol.

**517.** *Addfedrwydd i'r nef. . . M. N.* 7, 4.

AM ddod adre' i dŷ fy Nhad,
'Rwy'n hiraethu;
Blinais gan'waith ar y wlad
Lle mae pechu;
Bydd dy hunan, Iesu mawr,
Yn fy nerthu,
Fel na roddwyf f'arfau lawr
Nes gorchfygu.

2 Maddeu fy mhechodau i gyd,
Er d'ogoniant;
Ac na chosba fi'n dy lid
'Nol fy haeddiant;
Grym fy llygredd fo'n gwanhau
Yn feunyddiol;
'R anian newydd fo'n cryfhau
Yn fwy nerthol.

**518.** *Ffynon rinweddol. . . M. N.* 7, 4.

CANED nef a daear lawr,
Fe gaed ffynon,
I olchi pechaduriaid mawr
Yn glaer wynion;
Yn y ffynon gyda hwy
Minau 'molcha',
Ac a ganaf byth tra bwy',
Haleluia.

2 Mae Seraphiaid pur y nen
Yn rhyfeddu,
Gwel'd eu Brenin ar y pren
Yn gwir drengu;
Rhyfedd goncwest gynt a gaed
Ar Galfaria,
Byth fe genir am y gwaed,
Haleluia.

**519.** *Craig safadwy... M. N. 7, 4.*

CRAIG safadwy dan fy nhraed
Wyf yn 'mofyn,
O dragwyddol faith barhad,
Rhag y gelyn;
Noddfa gadarn f'enaid yw,
Minau gana',
Cododd Iesu o'i fedd yn fyw,
Haleluia.

2 Crist yw'm sylfaen gadarn gref
Drwy fy mywyd;
Pwyso'm henaid arno Ef
Yw fy ngwynfyd:
Ynddo bellach trwy bob plâ
Y gobeithiaf,
Ac mewn rhyfel canu wnaf,
Haleluia.

**520.** *Dwyn yr Iau... M. N. 7, 4.*

DA i wr yw dwyn yr iau
Yn ei ie'nctyd;
Canlyn Iesu yn ddiau
Sydd yn hyfryd;
Credu ei dystiolaeth Ef,
Ac ymostwng
Dan driniaethau Brenin nef,
Heb ymollwng.

2 Da i wr yn moreu'i oes,
Yw gwas'naethu
Iesu Grist fu ar y groes
Gynt yn gwaedu;
Rhoi ei ysgwydd dan ei arch
O fryd calon;
Glynu wrtho gyda pharch,
Byth yn ffyddlon.

**521.** *Darfod Gofidiau... M. N. 7, 4.*

NI raid byth in' gario'r groes,
Daw diangfa;
Derfydd tywyll oriau'r nos,
Dydd a wawria;
Er bod 'chydig ar y llawr,
Yn y cystudd,
Draw mae tragwyddoldeb mawr
O lawenydd.

2 Derfydd imi rodio'r glyn,
Derfydd wylo,
Derfydd teithio'r anial hyn,
Derfydd temtio;
Af i mewn i'm tawel nyth,
Ni ddaw yno
Elyn na gorthrymydd byth
I fy mlino.

3 Morio 'rwyf o dòn i dòn,
Tuag adre';
Mae rhyw hiraeth tan fy mron
Am y bore;
'Rwyf yn gweled draw o bell,
Trwy bob rhwystrau,
Wlad fy etifeddiaeth well,
Adre', adre'.

**522.** *Y waedd ar haner nos... M. N. 7, 4.*

Y MAE'R waedd ar haner nos
'Mron a dyfod;
A olchwyd ti yn ngwaed y groes?
Wyt ti'n barod?
Paid a hepian gyd â'r plant,
Bydd yn effro;
Cais wir olew a dy lamp
Wedi ei thrwsio.

**523.** *Llwyddiant yr Efengyl. . . M. N.* 7, 4.

Y MAE heddyw nefol wawr
    Yn llewyrchu,
Ac yn chwalu'r tywyllwch mawr,
    Fel y fagddu;
Ernes yw o fore llawn,
    O'r uchelder,
Ymddysgleiria'n hyfryd iawn,
    Haul Cyfiawnder.

2 Rhaid i'r Iesu'n helaeth gael,
    Y mae'n haeddu,
Gwel'd o ffrwyth ei lafur hael,
    A'i ddiwallu;
Myrdd o Negroes, estron lu,
    Ddont yn fuan,
Profi gânt ei gariad cu
    I rai aflan.

3 Ninau 'molchwn gyda hwy,
    Yn y ffynon,
Mae glanhad trwy farwol glwy'
    In' rai duon;
Ni chaiff tragwyddoldeb maith,
    Drai na diwedd,
Ar ein cân, a hyfryd waith
    Ei glodforedd.

**524.** *Llwyddiant yr Efengyl. . . M. N.* 7, 4.

FE bregethir Iesu a'i ras,
    Haleluia,
Yn yr India ëang fras,
    Haleluia;
Fe â sŵn yr udgorn clir,
    Haleluia,
I'r gorllewin anial dir,
    Haleluia.

2 Daeth o'r diwedd hyfryd ddydd
Pan caiff caethion,
Eu traed a'u dwylaw oll yn rhydd
Oedd mewn cyffion:
Gwawriodd concwest nefol wiw
Pen Calfaria:
Minau ganaf tra b'wyf byw,
Haleluia.

**525.** *Cariad Brawdol... M. N.* 7, 4.

WELE, mor ddymunol yw,
Cariad brawdol!
Undeb anwyl meibion Duw
Sydd ragorol:
Rhwymyn hoff perffeithrwydd cu
Ydyw cariad,
Gweddus yw i sanctaidd dŷ
Duw ein Ceidwad.

2 Cofiwn am orchymyn gwiw
Iesu tirion,
Cariad at ein gilydd yw,
Pur o galon:
Cofiwn am ei gariad Ef,
Fel anogaeth;
Dyma sylfaen gadarn gref
Ei athrawiaeth.

3 Cariad brawdol siriol mwyn,
Sy'n dystiolaeth,
Ddarfod i ni gael ein dwyn
O farwolaeth;
Arwydd yw ein bod yn saint
I'r Goruchaf':
Canwn ninau am y fraint,
Haleluia.

**526.** *Aros yn y Ty... M. N.* 7, 4.

AROS wnelom yn y tŷ,
Trwy'n holl fywyd,
Yma gwelwn wyneb cu
Ein Hanwylyd;
Rhoddi mae ei Ysbryd hael
I'n cysuro,
Er ein bod mor dlawd a gwael,
Diolch iddo.

2 Caiff yr addewidion gwir
Eu cyflawni:
Bydd y teulu cyn bo hir
Gyd â'r Iesu:
Yn eu plith bo'm ninau draw
Byth yn gwledda,
Yn y tŷ na wnaed â llaw,
Haleluia.

**527.** *Aros yn y Ty... M. N.* 7, 4.

NERTH i aros yn y tŷ,
Arglwydd dyro,
Er nad yw hi arna' i
'N oleu eto:
Yn y babell pwy a wyr,
Ond cael aros,
Na bydd goleu yn yr hwyr
Yn ymddangos.

2 Os rhaid cwrddyd ar fy nhaith
Dywydd garw,
Cadw f'ysbryd yn dy waith
Hyd fy marw;
Yn y babell gyd â'r arch,
Boed fy nhrigfa,
Gosod yn fy enaid barch
I dy ddeddfau.

**528.** *Aros yn y winllan...M. N. 7, 4.*

O AM aros tra fwyf byw
Yn y winllan,
Gyda sanctaidd waith fy Nuw,
Heb fyn'd allan;
'Chydig iawn o oriau sydd
Heb fyn'd heibio,
Pan ca pawb o berchen ffydd
Eu gwobrwyo.

2 Er fod pwys y dydd a'i wres,
Yn lluddedig,
Trwy lafurio y daw lles
Annhraethiedig;
Gwed'yn gorphwys yn yr hwyr,
Gyda'm Harglwydd,
A chael dwyn ei ddelw'n llwyr,
Yn dragywydd.

**529.** *Yr Iawn... M. N. 7, 4.*

MAE modd i faddeu pechod
Yn yr Iawn, yn yr Iawn,
Mae iechydwriaeth barod—Yn &c.,
Mae'r ddeddf-o dan ei choron,
Cyfiawnder yn dweyd "digon,"
A'r Tad yn gwaeddi—"Boddlon,"—Yn &c.,
A diolch byth, medd Sïon,—Am yr Iawn.

2 Yn awr, hen deulu'r gollfarn,
Llawenhawn, llawenhawn:
Mae'n cymhorth ar un cadarn,—Llawenhawn,
Mae galwad heddyw ato,
Mae bythol fywyd ynddo,
Ni chollir neb a gredo,—Llawenhawn;
Gan lwyr ymroddi iddo,—Llawenhawn.

**530.** *Ffoi at Grist... M. N.* 7, 3.

MYFI'R pechadur penaf,
Fel yr wyf, fel yr wyf,
Edrychaf i Galfaria,—Fel &c.,
Nid oes o fewn yr hollfyd
Le arall am fy mywyd,
Yn nghanol môr o ofid,—Fel &c.,
Mi bwysaf ar f' Anwylyd,—Fel &c.

2 Yn dlawd mi nesâf ato,—Fel &c.,
A rho'f fy hunan iddo,—Fel &c.,
Er concro fy holl feiau,
A'm dynol gyfiawnderau,
Mi redaf at fy Meichiai,—Fel &c.,
Caf loches yn ei glwyfau,—Fel &c.

3 Yn noeth, a dall, ac afiach,—Fel &c.,
Mi ro'f fy hunan bellach,—Fel &c.,
I lawr wrth draed trugaredd,
Gan ddysgwyl am ymgeledd
I'm cynal hyd y diwedd,—Fel &c.,
Ar ganol ffordd tangnefedd,—Fel &c.

**531.** *Llwyddiant yr Efengyl... M. N.* 7, 3.

MAE Efengyl gras yn t'wynu,
Mawr yw'r fraint, mawr yw'r fraint,
I gasglu llafur Iesu,—Mawr &c.,
Mae lluoedd maith yn barod,
Yn y Gaersalem uchod,
A thyrfa fawr yn dyfod,—Mawr &c.,
Dan faner Iesu isod,—Mawr &c.

2 Mae'r bwrdd yn llawn danteithion,
Dewch yn mlaen, dewch yn mlaen,
Gan sanctaidd Frenin Sïon,—Dewch &c.,
Cawn wledda oll yn ddiddig,
Fry, ar y llô pasgedig,
Ac yfed gwin puredig,—Dewch &c.,
Gwir haeddiant Iesu'n unig,—Dewch &c.

3 Mae uffern gwedi'i maeddu,
Diolch byth, diolch byth!
A'r dyled gwedi'i dalu,—Diolch &c.,
Mae T'wysog mawr y bywyd,
Fry, ar ei orsedd hyfryd,
Yn eiriol dros'i anwylyd,—Diolch &c.,
Cawn ddianc uwchlaw adfyd,—Diolch byth.

**532.** *Ymroad a gobaith... M. N.* 7, 3.

ER cryfed yw'm gelynion,
Af yn mlaen, âf yn mlaen,
Er gwaned yw fy nghalon,—Af &c.,
Er poethed ydyw Sina,
Er syched ydyw Baca,
Er chwerwed dyfroedd Mara,—Af &c.,
A'm golwg ar Galfaria,—Af &c.

2 Fe dderfydd fy ngofidiau—Cyn bo hir, &c,
Yn ngwlad y gorthrymderau,—Cyn &c.,
Caf roddi ffarwel hollol
I bob peth annymunol,
A moli yn dragwyddol,—Cyn bo hir,
Mewn ddedwydd fro heddychol,—Cyn bo hir.

**533.** *Jubili.. M. N.* 7, 3.

FE dderfydd fy nghaethiwed
Cyn bo hir, cyn bo hir,
Yn ngwlad y Babiloniaid,—Cyn bo hir,
Fe dderfydd fy wylofain,
Daw fyny'r deg a thri'gain,
Caf wel'd y Jubil lawen,—Cyn bo hir,
A d'od i'm gwlad drachefn,—Cyn bo hir.

2 Caf yno deml newydd,—Cyn bo hir,
I aros yn dragwyddol,—Cyn bo hir,
Yn mysg y duwiol deulu,
Sy'n moli'r Arglwydd Iesu,
Gan uchel lawenychu,—Cyn bo hir,
Heb elyn mwy i'm drygu,—Cyn bo hir.

**534.** *Sylwedd yr ebyrth... M. B. C.*

ER tywallt môr o waed,
Trwy hwn ni chaed maddeuant;
Aneirif ebyrth llesg eu rhyw,
Rhy eiddil yw eu haeddiant.

2 Ond wele ar y groes
Yr hwn a roes foddlondeb;
Trwy haeddiant aberth Crist ei hun,
Daeth Duw a dyn mewn undeb.

3 Mewn ing a gwaedlyd chwys,
Bu'n gogoneddus Geidwad;
Ond ni ddiffoddodd angeu llym
Dragwyddol rym ei gariad.

**535.** *Craig Israel... M. B. C.*

I'N Craig ffoi nawr a wnawn,
Ac yno cawn ddiffynfa;
A thynwn iechydwriaeth gref
O'i enw Ef—Jehofa.

2 Dy fraich, ein cadarn Iôr,
A bia'r oruchafiaeth;
Dy fraw a ddeil y gelyn llym,
Nes tawdd ei rym ef ymaith.

2 Pa le mae Craig mor gref
Ag ydyw Ef ein Harglwydd?
Ei gadarn rym, a'i gariad pur,
A folir yn dragywydd.

**536.** *Gras yr orsedd... M. B. C.*

RHOWN glod i'n Harglwydd glân,
Mewn hyfryd gân anfarwol;
Dadseinier drwy'r holl ddaear faith
Ei ras a'i waith rhyfeddol.

2 Y Tad, mewn pryd, o'i fodd,
Anfonodd ei Anwylyd,
I'n codi ni, druenus rai,
O bydew gwae a gofid.

3 Gras lanwai'r fainc i gyd,
Gostegai'r llid yn hollol,
Pan y daeth Crist â phardwn pur,
I wrthryfelwyr marwol.

4 Dewch, bechaduriaid gwan,
At Grist, nac anobeithiwch,
A phlygwch i'w deyrnwialen fo,
Derbyniwch ganddo heddwch.

**537.** *Cariad Duw... M. B.*

CYDUNED Sïon lân,
Mewn cân bereiddia'i blas,
O fawl am drugareddau'r Ion,
Ei roddion Ef a'i ras.

2 P'le gwelir cariad fel
Ei ryfedd gariad Ef?
P'le bu cyffelyb iddo erioed?
Rhyfeddod nef y nef!

3 Fe'n carodd cyn ein bod,
A'i briod Fab a roes,
Yn ol amodau hen y llw,
I farw ar y groes.

**538.** *Genedigaeth Crist... M. B.*

O HENFFYCH fore wawr
Daeth Crist i lawr o'r nef,
Mewn gwisg o gnawd, yn faban gwan,
Boed llon ein cân a'n llef.

2 Rhown floedd hyd lŷs y nef,
Yn ngeiriau'r anthem glir,
A ganai'r côr angylaidd cu
Uwch meusydd Bethl'em dir.

3 Gogoniant byth i Dduw,
I ddyn tangnefedd gu,
Ewyllys da yw llais eich Tad,
Fe ddaeth eich Ceidwad chwi.

**539.** *Crist yn y preseb... M. B.*

I BETHL'EM awn drwy ffydd,
I weled dydd ein Duw;
Y dydd y ganwyd Iesu cu,
Dydd i'w fawrygu yw.

2 Pa le mae Crist i'w gael,
Iachawdwr hael y byd?
Yn lletŷ yr anifail gwael,
A phreseb yw ei gryd.

3 O doed yn rhwydd bob rhai
A'u tanau yn gytun;
I'r Iesu'n glau rhont felus glod,
Am ddod yn Geidwad dyn.

**540.** *Darostyngiad Crist... M. B.*

O GWEL y Brenin mawr,
A ddaeth i fod yn dlawd;
A'i werthfawr waed yn llifo i lawr,
Yn dyoddef llid a gwawd.

2 Fe gymerth agwedd gwas,
Bu yma'n wael ei fri,
Fe'i drylliwyd am ein beiau câs,
Bu farw ar Galfari.

3 Ffydd c'od dy ben yn awr,
Fy enaid gwel ei gur,
Wrth dalu swm dy ddyled mawr,
O tawdd fy nghalon ddur!

4 Mae heddwch yn ei waed,
I'r holl grediniol rai,
Tragwyddol bardwn a rhyddhâd,
Ca'dd Duw ei lwyr foddhau.

**541.** *Effeithiau angeu Crist. . . M. B.*

AI am fy meiau i,
Dyoddefodd Iesu mawr,
Pan ddaeth yn grym ei gariad Ef,
O entrych nef i lawr.

2 Cyflawnai'r gyfraith bur,
Cyfiawnder gafodd Iawn;
A'r dyled mawr, er cymaint oedd,
A dalodd Ef yn llawn.

3 Dyoddefodd angeu loes,
Yn ufudd ar y bryn;
A'i waed a ylch yr Ethiop du
Yn lân fel eira gwyn.

4 Bu'n angeu i'n hangeu ni,
Wrth farw ar y pren;
A thrwy ei waed y dygir llu,
Trwy angeu i'r nefoedd wen.

5 Pan grymodd Iesu ei ben,
Wrth farw yn ein lle,
Agorodd ffordd, pan rwygai'r llen,
I bur drigfanau'r ne'.

6 Gorchfygodd uffern ddu,
Gwnaeth ben y sarff yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu,
Trwy ras i deulu Duw.

**542.** *Iawn Crist. . . M. B.*

GWNAETH Iesu berffaith Iawn,
Brydnawn ar Galfari;
Yn ei gyfiawnder pur dilyth
Mae noddfa byth i ni.

2 Anfeidrol ydyw gwerth
A rhin ei aberth mawr,
I achub rhyw aneirif lu
O deulu gwael y llawr.

3 Y rhai yn berffaith lân
A beraidd gân i gyd,
I'r bendigedig unig Oen,
Yn iach o boen y byd.

**543.** *Sylwedd y Cysgodau. . . M. B.*

NIS gallai gwaed yr holl
Aberthau i gyd o'r bron,
Roi heddwch i'r gydwybod ddu,
Na golchi brynti hon.

2 Ond Crist y nefol Oen
A ddyg bechodau'r byd;
Ei aberth Ef a'i waed sy fwy
Na phwysau'r rhai'n i gyd.

3 Af ato fel yr wyf,
I 'mofyn am iachâd;
A'm holl bechodau addef wnaf,
Yn isel wrth ei draed.

4 Mae gobaith f'enaid gwan,
Fy hyder a fy ffydd,
Yn gwir ymorphwys ar ei waed,
Am lwyr lanhad ryw ddydd.

5 Gwnaeth Iesu gymod llawn,
Dyoddefodd angeu loes;
Y clod didrai, y mawl dilyth,
Fo byth am waed y groes.

**544.** *Iachawdwriaeth gyflawn. . . M. B.*

MAE'R iachawdwriaeth rad
Yn ddigon i bob rhai;
Agorwyd ffynon er glanhad
Pob pechod cas a bai.

2 Daw tyrfa rif y gwlith
Yn iach trwy rin y gwaed;
Pwy ŵyr na byddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed.

3 Er lleted yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw,
Y balm o Gilead a'm hiachâ,
Mae Crist yn feddyg gwiw.

4 Dan bwys euogrwydd du,
Edrychaf tua'r groes,
Lle llifodd gwaed fy Mhriod cu,
Anfeidrol Iawn a roes.

**545.** *Iachawdwriaeth gyflawn. . . M. B.*

FE ddaeth efengyl Duw
I ddynolryw di-ras,
Ac y mae galwad hon ar g'oedd
At luoedd daear las.

2 Mawr fydd llawenydd llu,
Yn gorfoleddu'n lân,
Am'r iachawdwriaeth helaeth hon,
I bentewynion tân.

3 I gleifion waelion wedd,
Y mae'r anrhydedd rhad;
A meddyginiaeth helaeth iawn,
I gyd yn llawn gwellhad.

4 O f'enaid dyma'r fan,
I olchi'r aflan rai:
A modd y sydd i'm gwneud yn sant,
Heb gyfrif maint fy mai.

5 Darfydded cwynion caeth,
Amheuaeth oll am hyn:
Y mae o blaid yr anwyl blant
Bur haeddiant Iesu'i hun.

**546.** *Iesu yn rhan. . . M. B.*

BOED Iesu im' o hyd,
Yn dwr a tharian gref,
Rhag dyfais Satan a'i holl lid,
A'i saethau tanllyd ef.

2 Ac yn'r Iorddonen fawr,
Boed yno y'ngrym y dòn,
Yn Archoffeiriad anwyl iawn,
I'm dwyn yn mlaen yn llon.

3 Tangnefedd sydd i'r pell
A'r agos, ynddo Ef;
Mae croesaw'n awr i dd'od yn mlaen,
Yn ëon tu a'r nef.

4 Yr Iesu ar y groes
A wnaeth y ffordd yn rhydd;
Mae rhyddid 'nawr i dd'od yn mlaen,
Trwy'r sancteiddiolaf ffydd.

**547.** *Gorphwys ar Grist. . . M. B.*

O IACHAWDWRIAETH wiw,
Ti yw fy nghân i gyd,
Rhinweddau nefol hyfryd hon
A'm deil mewn dyrus fyd.

2 Fy enaid dyro'th bwys,
A gorphwys arni mwy;
A'th holl ymddiried yn ddilyth
Fo byth mewn marwol glwy'.

3 Mae yma wledd ddidrai,
I'r rhai lluddedig sy
Yn teithio trwy'r anialwch blin
I Sïon sanctaidd fry.

**548.** *Swper yr Arglwydd... M. B.*

O CHWI eneidiau byw,
Dyrchefwch Fab Duw 'nghyd:
Y bara ddaeth o'r nefoedd yw,
Rhoi bywyd mae i'r byd.

2 Y Llo pasgedig rhad,
Gwledd y newynog rai:
Y Manna ddaeth o dŷ ein Tad,
Yw'r Iesu yn ddilai.

3 Mae Duw'n arlwyo bwrdd,
Yn yr anialwch blin,
I'w blant y mae, lle b'ont yn cwrdd,
Daw hefyd yno'i hun.

4 Gyfeillion, O bwytewch,
Mae i chwi ffordd sydd faith;
Can's gwledd o gariad yma gewch,
I'ch lloni ar eich taith.

**549.** *Rhagoriaeth gras... M. B.*

PE meddwn aur Peru,
A pherlau'r India bell,
Gwreichionen fach o ras fy Nuw
Sydd drysor canmil gwell.

2 Pe cawn holl berlau'r llawr,
A holl bleserau'r byd,
Yn wyneb gras fy Iesu mawr,
Fel ûs yr aent i gyd.

3 Pe bawn mewn cystudd trist
Yn dyoddef trwy fy oes,
Un olwg ffydd ar gariad Crist
Felysai bob rhyw loes.

4 Rho undeb ffydd, O Dduw,
Ag Ef, y bywiol Ben,
Byw iddo nes myn'd ato i fyw,
Yn wiw i'r nefoedd wen.

**550.** *Dedwyddwch y Credinwyr... M. B.*

FY mywyd wyt, fy Nuw,
A'm Cyfaill gwiw, digoll;
Can's hebot ti nis gallaf fyw,
Ti yw fy oll yn oll.

2 Nis gall y ddaear laith,
Na'i thrysor maith i gyd,
Roi dim boddlonrwydd imi 'nawr,
Heb wawr dy wyneb-pryd.

3 Dy wên a'th hawddgar bryd,
Mor hardd, mor hyfryd yw!
Dewisol baradwysaidd wledd
Yw bod yn hedd fy Nuw.

4 Dy ras digonol yw
Tra byddwyf byw'n y byd,
Am hyny pwysaf ar fy Naf,
A'i garu wnaf o hyd.

**551.** *Llwyddiant yr Efengyl. . . M. B.*

MAE'R wawr sy'n tori draw
Yn dweyd y daw y dydd;
Cysgodau y tywyllwch mawr,
Yn cilio 'nawr y sydd.

2 Ar ddydd y Jubil fawr,
Pan dyr y wawr yn wir,
Daw llu i Salem, dinas hedd,
Mewn llawn orfoledd pur.

3 Fe ddaw hiliogaeth Cam
I 'mofyn am y gwaed,
'R hwn sy'n rinweddol i lanhau
Y duaf rai a gaed.

**552.** *Marwolaeth. . . M. B.*

AI marw raid i mi,
A rhoi fy nghorff i lawr?
A raid i'm henaid ofnus ffoi
I dragwyddoldeb mawr?

2 Beth ddaw o honof fi
'Rol gadael daear lawr?
Tragwyddol wae, neu hedd dilyth,
A fydd fy rhan ryw awr.

3 O Dduw, dysg imi'r ffordd
I ffoi rhag uffern dân;
A'r pryd ymddengys Iesu gwiw,
Dwg fi i'r nefoedd lân.

**553.** *Marwolaeth. . . M. B.*

A RAID i angeu du
Gael chwalu 'mhabell frau?
Ai marw raid! a'm henaid fyn'd
I'r gwynfyd, neu i'r gwae?

2 Gwirionedd, marw raid,
A'r enaid fyn'd i'r glyn;
O am ryw hardd angylaidd lu
I'w ddwyn i Sïon fryn.

3 Wrth nesu tua glàn
Yr hen Iorddonen ddu;
O am gael teimlo 'mod i'n nes
I fynwes Iesu cu.

**554.** *Iorddonen ddu. . . M. B.*

PAN bo'r Iorddonen ddu,
A'i thònau'n ddychryn im',
Ond cael adnabod Ffrynd y saint,
Mi gana' er maint eu grym.

2 Bydd melys yn y dŵr
Gael Sylfaen siwr i'r gwàn;
A hyfryd gwel'd y cerbyd claer
Yn ddysglaer wrth y làn.

3 Myn'd ynddo i wlad y gân,
I blith y dyddan gôr;
O! 'r fath lawenydd yno fydd
Tragywydd gyda'r Iôr.

**555.** *Y Bibl. . . M. B. D.*

O FEWN y Bibl pur
Mae eglur feddwl Duw;
Pob rhan o hono bery'n hwy
Na'r nef, gwirionedd yw;
'R addewid ydyw'r sail,
Gwaed Adda'r ail yw'r sêl,
Mwy gwerthfawr yw nag aur Peru,
Llawn yw o laeth a mêl.

2 Trysor-dŷ deddfau Duw,
Maith yw dy eiriau pryd,
Mae yn mhob sillaf fwy o stôr
Na'r ddaear faith i gyd:
O fewn ei gloriau gwiw,
Mae arf-dŷ Dduw fy Iôr,
Myfyrio ynddo bydd y saint,
Tra fyddo tir neu fôr.

**556.** *Adnabod yr Iesu. . . M. B. D.*

ADNABOD Iesu'n iawn
Yw'r bywyd llawn o hedd,
A grym ei adgyfodiad sydd
Yn symud ofnau'r bedd;
Cael teimlo gwaed ei groes,
Yn dofi'r loes a'r cur,
A wnaeth i filoedd o bob oes
I seinio'r anthem bur.

2 Wel, dyma'r Ceidwad mawr,
A ddaeth i lawr o'r nef;
I achub gwaeledd lwch y llawr,
Gogoniant iddo Ef;
Bu farw yn ein lle,
Ni bechaduriaid gwael,
Mae pob cyflawnder ynddo Ef,
Sydd arnom eisiau ei gael.

**557.** *Clodfori'r Iesu. . . M. B. D.*

I'R Iesu boed y clod,
Tra byddo bod na byd,
Efe oedd cyn y diluw mawr,
Efe sy'n awr o hyd;
Yn gyfaill ac yn Dduw
Pob llwythau, rhyw, ac iaith,
Efe a'n harwain ni uwch nen,
Yn gryno i ben ein taith.

2 Mae rhinwedd yn dy waed
I faddeu beiau mwy
Nag y gall angel fyth na dyn
Wneud rhif o honynt hwy;
Mae ffynon ar y bryn
A ylch yn wyn a glân
Bechodau o ryw ffieiddia 'rioed,
Rifedi'r tywod mân.

3 Cyfiawnder marwol glwy'
A haeddiant dwyfol loes,
Y pris, y gwerth, yr aberth drud,
A dalwyd ar y groes,
A gliria meiau'n llwyr,
A'm gylch yn hyfryd lân,
Ac nid oes arall dan y nef,
A'm nertha i fyn'd yn mlaen.

**558.** *Llawenhau yn Nghrist... M B. D.*

BLANT ffyddlon Sïon dewch,
A llawenhewch i gyd,
Yn mlaen â chwi fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid:
O hyfryd ddedwydd awr,
Messia mawr a gaed;
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

2 Er i ni golli'r hedd
Yn Mharadwysaidd wiw,
A bod yn fyr o gadw'r fraint,
Myn'd tan digofaint Duw;
Ni gawsom Hâd y wraig,
Yn gadarn Graig i'n traed:
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

3 Addewid gafwyd, do,
'Nol i ni syrthio 'mhell,
Arfaethol ras, hawl i ni roed,
Gawd ar gyfamod gwell:
Mae'r sylfaen yn ddigryn,
Ni chollir un o'r hâd:
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

**559.** *Crist yn Babell... M. B. D.*

TRUGAREDD, cyn fy mod,
Fu'n darpar cysgod im'!
Ce's fywyd ac ymgeledd dda,
Ond Iesu'n bena' dim;
'Nawr ar drugaredd Duw,
'Rwyf yma'n byw bob awr,
Boed iddo'r parch a'r enw byth:
Ce's aml fendith fawr.

2 Ein Pabell rhag y gwres,
A'n Lloches, rhag y llid,
Ein Tarian rhag picellau'r ddraig,
Yw Hâd y wraig o hyd;
Ein Hymborth yw Efe,
Ein Plaid er maint ein pla,
Ein Tywysog yn y niwliog nos,
A'n Noddfa ddiddos, dda.

**560.** *Crist yn bob peth... M. B. D.*

MI a ddarfyddaf mwy
Yn lân â haeddiant dyn;
Ni chym'rir iawn ger bron y Tad
Ond dwyfol waed ei hun;
Gofynion nef sydd faith,
Can's maent yn berffaith lawn,
Ni thry cyfiawnder byth yn ol,
Heb ryw anfeidrol iawn.

2 Dy glwyfau yw fy rhan,
Fy nhirion Iesu da;
Y rhai'n yw nerth fy enaid gwan,
Y rhai'n a'm llwyr iachâ;
Er gwaeled yw fy ngwedd,
Er tloted wyf yn awr,
Fo llenwi gaf a llawnder Duw,
A'm gweled fel y wawr.

3 O Iesu'r Meddyg da,
Iachâ fy enaid caeth,
A sicr seilia fi ar y graig,
Uwchben y ddraig a'i saeth:
Am ddianc 'rwyf yn nes
I'th fynwes di fy Nuw;
O llanw fi'n yr anial wlad,
A'th gariad tra fwyf byw.

**561.** *Anthem Calfaria. . . M. B. D.*

MI gana' am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a 'mhla;
Ni cheisia'n wyneb calon ddu
Ond Iesu'r Meddyg da:
Fy mlino gês gan hon,
A'i throion chwerwon chwith,
Ond dyma'm sail i am lanhad,
Y cariad bery byth.

2 Byth boed maddeuant rhad
Yn ngwerthfawr waed yr Oen,
Yn destun moliant yn mhob man,
I mi sydd dan fy mhoen;
Yr anthem faith ei hyd
Fo i gyd am Galfari,
A'r iechydwriaeth fawr ei dawn
Ddaeth un prydnawn i ni.

**562.** *Ffrwyth angeu Crist. . . M. B. D.*

ER trengu ar y groes
Ein Meichiai mawr o'r nef,
Fy Mrenin mawr, fy Mhrynwr mawr,
A'm Duw yn awr yw Ef;
I'r làn y trydydd dydd,
Yn gadarn daeth o'r bedd:
A gwenu mae cyfiawnder pur,
Yn awr mewn cyflawn hedd.

2 Ar hyfryd Sïon fryn
Bydd torf ag uchel lef,
Dros oesau tragwyddoldeb maith
Yn canu—"Iddo Ef:"
Yn ddysglaer fel y wawr,
Oll wedi eu cànu'n wyn;
Bydd priodasferch, gwraig yr Oen,
Yn ddedwydd iawn bryd hyn.

**563.** *Ysgol Crist. . . M. B. D.*

YN ysgol bur fy Nuw,
O rhyfedd yw fe'm rhoed,
I ddysgu'r bêr nefolaidd iaith,
Gan'r Athraw goreu erioed;
Ac er na fedraf fawr
Yn awr o iaith y nef,
Pwy wyr na chaf fy nysgu'n iawn,
Un mawr ei ddawn yw Ef.

**564.** *Penderfyniad y Cristion. . . M. B. D.*

'RWY' yn terfynu 'nghred,
'Nol pwyso oll yn nghyd;
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
Ond Duw sydd un o hyd:
Ar ei ffyddlondeb Ef,
Sy'n noddfa gref i'r gwàn,
Mi greda' do'i mhen gronyn bach,
O'r tònau'n iach i'r làn.

2 'Rwyf wedi bwrw'r draul
I fyn'd yn mlaen o hyd,
Nes gwelwy'r dydd yn gwawrio draw,
Mi wn y daw ryw bryd:
Er gwaetha'm llygredd cas,
Mi ddianga' maes o law,
I gol fy Nuw a'm priod cu,
Sy'n eiriol droswyf draw.

**565.** *Taith yr anialwch... M. B. D.*

PALMENTIR llwybr in'
Trwy ganol moroedd maith,
Ac er gelynion fawr a mân,
Cawn fyn'd ymlaen i'n taith;
Ar drostan heddyw'n nes
Mae'r sarff o bres yn glir,
Os clwyfir un pererin gwàn,
Sy'n my'nd i'r Ganaan dir.

2 'Does le i ni golli'r ffordd,
Mae niwl y dydd o'n blaen;
Fe'n tywysir trwy'r anialwch hir
Gan golofn bur o dân:
Fe arwain dwyfol ras
Ni'n gywir maes o law,
Trwy ganol maith sychedig dir
I'r Ganaan bur sy draw.

**566.** *Iachawdwriaeth werthfawr... M. B. D.*

O IACHAWDWRIAETH fawr,
Anfeidrol werthfawr yw;
Mae'n cynwys ynddi bob peth da
I'r gwaela' o ddynolryw:
I'r euog, cyfiawnhâd,
I'r caeth, rhyddhâd o'i boen,
I'r halogedig, sancteiddhâd,
Trwy rinwedd gwaed yr Oen.

2 Mae'n codi'r marw'n fyw,
I'r byddar glyw mae'n rhoi;
Ac esmwythâu'r blinderog trist,
Trwy ffydd, at Grist sy'n ffoi:
Mae'n gwella'r clwyfus cla',
Mae'n golchi'r dua'n wyn;
Gwna'r cloff i lamu fel yr hydd,
A'r mud i ganu am hyn.

3 Y Tad ei threfnu a wnaeth,
Cyn creadigaeth byd;
Fe'i gweithiwyd allan gan Fechniydd,
Trwy ddirfawr boenau drud;
Yr Ysbryd Glân y sy'n
Cymhwyso hon at ddyn;
Bydd uchel ganu byth am hyn
I'r sanctaidd Dri yn Un.

**567.** *Ymbil am faddeuant. . . M. B. D.*

NA foed im' garu mwy
Un gwrthrych is y ne',
Ond hwnw a fu'n plygu ei ben
Ar groesbren yn fy lle:
'Does dim, 'does neb ond Ef,
Mewn daear, nef, na llawr,
Ac byth ni rodda' i neb mo'r clod,
Sy'n eiddo'r Iesu mawr.

2 O gwrando weddi'r tlawd,
Ffyddlonaf frawd a gaed,
I'r rhai cystuddiol yn mhob màn,
Sy'n 'mofyn am iachâd:
Ti wyddost ti fy mhla,
Fy ngofid a fy mhwn,
Ac nid oes ond d'anfeidrol rym,
All symud dim o hwn.

3 Mi rof fy meiau'n llawn,
Yn uniawn o dy flaen,
O tafl hwy i fôr o annghof clir,
Mewn anial dir yn lân:
Na safed y rhai hyn,
Fyth yn fy erbyn draw,
Pan y cyhoeddir beiau cudd,
Yn oleu ddydd a ddaw.

**568.** *Manna wedi ei gael. . . M. B. D.*

MAE'R manna gwedi'i gael,
Mewn dyrus anial dir;
Ymborthi caf, ond myn'd yn mlaen,
Ar ffrwythau'r Ganaan bur:
Mae yno sypiau grawn,
Yn llawn o fewn i'r lle;
O Ffrynd troseddwyr, moes dy law,
A thyn fi draw i dre'.

2 Anturiaf 'nawr yn hy'
Gan gyrchu at y nod:
Mi gefais, do, im' ffyddlon dyst,
Fe archodd Crist i'm ddod:
Fy mhechod ymaith tyn,
Mae'n eiriol yn y ne':
O Ffrynd troseddwyr, moes dy law,
A thyn fi draw i dre'.

3 Mi ge's arwyddion gwir
O gariad pur fy Nuw;
Ei ras a'i dawel hyfryd hedd
I'm henaid rhyfedd yw:
Yn mhell o'r babell hon,
Mae nghalon gydag Ef:
O Ffrynd troseddwyr, tyn fi'n llon,
Yn union tua'r nef.

**569.** *Yr achos Cenadol... M. B. D.*

WEL, deuwch tua'r wlad,
Y ffordd a gaed yn rhydd;
Ar ol rhyw noswaith dywell gaeth,
'Nawr gwawrio wnaeth y dydd:
Oddiyma i Peru,
Mae 'fengyl Duw'n rhoi bloedd,
'N cyhoeddi i'r Negroes dua' eu lliw,
Drugaredd Duw ar g'oedd.

2 O fore llawn o hedd,
Bydd hon yn wledd o fri,
Pan y cyhoeddir Jubil lawn,
Yn hyfryd iawn i ni:
A'r udgyrn arian glâs,
Yn rhoddi i maes y sain,
Fod iachawdwriaeth gyflawn gun,
I'r gwaelaf un o'r rhai'n.

3 A doed breninoedd byd
Yn unfryd ato ef,
A rhoddant eu coronau lawr
O flaen ei orsedd gref;
Ei enw led-led sydd,
A'i glod ef fydd uwchlaw
Y cwbl ag sy yma i gyd,
Ac yn y byd a ddaw.

**570.** *Llwydd Efengyl... M. B. D.*

AED sain efengyl hedd
Drwy barthau'r byd o'r bron,
Na fydded ardal dan y nef
Heb yr efengyl hon:
Dychweled gaethion fyrdd,
Addolwyr duwiau gau,
O'u bodd i gredu'n Iesu Grist,
Ac iddo ufuddhau.

**571.** *Dychweliad yr afradlon, (Luc 15: 10.)..M. B. D.*

O MEWN Caersalem iach
Bydd tynach pob rhyw dant,
Y pryd y ffŷ pechadur ffôl
I blith y duwiol blant;
Effeithiau'r newydd da
A seinia uwch y sêr,
Yn ngwiwlan dôn angylion Duw,
Mwy byw eu hanthem bêr.

**572.** *Gorphwysfa yn ol...M. B. D.*

O FEWN yr anial dir
Cawn ofid dros brydnawn;
Ond boreu braf ddaw yn ei bryd,
Mae'n dyddio'n hyfryd iawn;
'Dyw'r amser ddim yn mhell,
Mae gwlad sydd well i fyw:
Y mae gorphwysfa eto'n ol,
I ddedwydd bobl Dduw,

2 Dymuniad f'enaid i
Am dano fo bob dydd;
Os yno caf fi ganu clod,
Mor fawr ryfeddod fydd!
Heb achos galar trwy
Na llygru mwy mo'm lliw:
Y mae gorphwysfa eto'n ol,
I ddedwydd bobl Dduw.

**573.** *Y Gair yn drysor...M. N. 2, 8.*

DY wir
Sy'n drysor mwy na môr na thir,
Mae'n fywyd ac yn gyfoeth pur;
Y byd cyn hir â'n ulw mân,
A'i hardd wrthddrychau o bob rhyw;
Ond geiriau'm Duw byth a barhân'.

2 O bydd
Yn nerth wrth raid o ddydd i ddydd,
I gredu'th Air cryfhâ fy ffydd,
Fel rhodiwy'n rhydd heb ofni braw,
Er pob rhyw elyn mawr a bach,
Nes dod yn iach i'r ochr draw.

**574.** *Cariad Crist... M. N.* 2, 8.

CLOD, clod,
I'r hwn a'm carodd cyn fy mod,
Mae'm llef am ddylyn ol ei droed,
Nes im' gael dod i'w dawel hedd;
I'r lle mae llawnder ar bob llaw,
Heb boen na braw, tu draw i'r bedd.

2 Efe
A'm carodd cyn sylfaenu'r ne',
Aeth dan law'r lleiddiaid yn fy lle;
Ei haeddiant E' sy'n awr o'm tu,
I deithio'r ffordd i'r nef yn lân,
Af trwyddo yn mlaen i'r Ganaan fry.

3 Clod, clod,
I'r Oen a laddwyd cyn fy mod,
Y parch a mawl i'w enw boed,
Am iddo erioed o'i gariad rhad,
Roi serch ar wael syrthiedig ddyn:
Mawr iawn yw rhin ei werthfawr waed!

**575.** *Iawn Crist... M. N.* 2, 8.

CAWN, cawn,
I Grist wrth farw un prydnawn,
Foddloni deddf, trwy dalu'n llawn
Anfeidrol Iawn i'w anwyl Dad;
Palmantodd ffordd o Galfari,
I'r nefoedd fry, trwy rin ei waed.

2 Mwy, mwy,
Yw buddugoliaeth marwol glwy',
A'i goncwest frwr a gyrhaedd trwy
Galonau fwy na gwlith y wawr,
Yn nydd ei nerth yn llawn o'i hedd,
Ac ar ei wedd yn dyrfa fawr.

3 Mae'n awr
Yn eistedd ar ei orsedd fawr
Yn Arglwydd Ior y nef a'r llawr:
A chyda gwawr yr olaf ddydd
Fe fyn ei hardd ddyweddi ddrud,
O lwch y byd, yn berffaith rydd.

**576.** *Ymorchestu yn Nghrist. . . M. N.* 2, 8.

DAETH, daeth,
Gwaredwr i waredu'r caeth,
Plant angeu'n gwbl rydd a wnaeth:
Bu i Breswylydd mawr y berth
Gofio trueiniaid îs y nen,
A sigo pen y ddraig a'i nerth.

2 Cry', cry',
Yw'r Brenin sy'n rhyfela o'n tu,
O'i flaen ni saif un arfog lu:
Boed diolch byth fe gafwyd Brawd,
'R hwn a gymerodd ein deddf-le
Fe unodd E' â'n natur dlawd.

3 Nawr, nawr,
Mae modd i bechaduriaid mawr
Gael tynu'u beichiau trwm i lawr:
Agorwyd ffynon werthfawr ddrud,
I olchi'r Ethiop du yn wyn,
Bydd canu am hyn pan losgo'r byd.

**577.** *Gwaed y Groes.... M. N.* 2, 8.

NID oes,
Ni fu, ni ddaw, mewn unrhyw oes,
O gymaint gwerth a gwaed y groes,
Y ddwyfol loes ga'dd brenin nef:
O gariad mawr! diderfyn stôr
Sy fel y môr fyth ynddo Ef.

2 O pwy
Ymguddiodd yn dy ddwyfol glwy',
Ac yna fethodd dori trwy
Gystuddiau mwy na gwellt y maes?
Mae'r fuddugoliaeth fawr yn dod
Hyd yma erioed trwy rym dy ras.

3 Nid oes
A ddeil fy ysbryd dan bob croes,
Ond dwyfol, nefol, farwol loes;
Estyniad f'oes yw ei fwynhau;
'Does gysur arall mewn un man,
Ef yw fy rhan byth i barhau.

**578.** *Golchi trwy'r Gwaed... M. N.* 2, 8.

PA le
Y gwnaf fy noddfa dan y nef,
Ond yn ei glwyfau anwyl Ef?
Y bicell gref aeth dan ei fron,
Agorodd ffynon i'm glanhau,
'Rwy'n llawenhau fod lle yn hon.

2 Oes, oes,
Mae rhin a grym yn ngwaed y groes
I lwyr lanhau holl feiau f'oes:
Ei ddwyfol loes, a'i ddyfal lef,
Mewn gweddi drosof at y Tad
Yw fy rhyddhad, a'm hawl i'r nef.

3 Golch fi
Oddiwrth fy meiau aml eu rhi',
Yn afon waedlyd Calfari,
Sydd heddyw'n llif o haeddiant llawn,
Dim trai ni welir arni mwy,
Hi bery'n hwy na bore a nawn.

**579.** *Effeithiau y Pridwerth. . . M. N. 2, 8.*

Daeth trwy
Fy Iesu glân a'i farwol glwy'
Fendithion fyrdd, daw eto fwy;
Mae ynddo faith ddiderfyn stôr,
Ni gawsom rai defnynau i lawr,
Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr.

2 Caed, caed,
Rhyw dal-graig uchel i fy nhraed,
Y ffordd yn rhydd i mi a wnaed;
Pan bydd im' anobeithio mwy,
Mae Meddyg parod, oes yn wir,
A chordial pur i wella'm clwy'.

3 Gwych sain
Fydd eto am y goron ddrain,
Yr hoelion llym, a'r bicell fain;
Wrth gofio rhai'n, caiff uffern glwy';
Carcharau tynion aeth yn rhydd,
Fe gaed y dydd, Hosanna mwy!

**580.** *Concwest trwy Grist. . . M. N. 2, 8.*

DAL fi,
Er fy ngelynion aml ri',
A'm golwg tua Chalfari,
A gwrando gri fy enaid gwan,
Er gorthrymderau o bob rhyw,
Trwy allu Duw y dof i'r làn.

2 Dy wedd
A leinw f'enaid llesg â hedd,
Nes llyncu ofnau caeth y bedd;
A dyma wledd i enaid trist,
Cael teimlo rhin ei farwol loes,
Yn ngolwg croes fy Mhrynwr Crist.

3 Yr Oen
Aeth dan fy mhenyd, dan fy mhoen,
Ni thawaf byth am dano sôn;
Ei gariad tirion fydd fy nghân,
Am achub un mor wael ei lun,
A'm tynu'i hun o'r gyneu dân.

**581.** *Y Groes*... *M. N.* 2, 8.

Y GROES
Yw etifeddiaeth fawr fy oes,
A'm grym i lynu dan bob loes;
'Rwy'n gwel'd nad oes o dan yr haul,
Neb gaf mewn cyfyngderau dwys,
I ddal fy mhwys, ond Adda'r Ail.

2 Y byd,
A'i wg a'i wên, sydd ddrain o hyd,
O'i fewn nid oes i'm noddfa glyd,
Ond angeu drud bryn Calfari;
Mae yno gysgod diddos iawn,
Maddeuant llawn a hedd yn lli'.

**582.** *Llwyddiant yr Efengyl*... *M. N.* 2, 8.

EI glod
Sydd heb un terfyn iddo'n bod,
O aed yn mlaen fwy nag erioed,
O gwmpas rhad y ddaear fawr;
Nes elo swn efengyl bur,
I dori'n glir fyrddiynau i lawr.

2 Mae, mae
Rhyw hiraeth ynwyf yn parhau,
Am wel'd yr amser hyny'n glau,
Y pryd y mae fy Arglwydd rhad
I dderbyn ei ogoniant mawr,
Gan nef a llawr am roddi ei waed.

3 O nawr,
Addfwynaf Iesu tyr'd i lawr,
Helaetha dy freniniaeth fawr;
C'od ddedwydd awr iachusol ddydd;
Rho'r carcharorion fyn'd i maes,
O'r pydew cas heb ddwfr y sydd.

**583.** *Llwyddiant yr Efengyl... M. N.* 2, 8.

YMLAEN, ymlaen,
Aed pur efengyl Iesu glân,
Nes llenwi'r byd o'r nefol dân,
I seinio cân dduwiolaidd dôn;
Dyrchafu'n llon dros wyneb llawr
Ogoniant mawr yr addfwyn Oen.

2 Nawr, nawr,
Tyr'd Iesu yn d'awdurdod mawr,
Gwna ôl dy law dros ddaear lawr,
Nes byddo'n glodfawr d'enw cu,
O godiad haul hyd fachlud hwn,
A'r byd yn grwn ar d'ôl yn llu.

**584.** *Hunan-ymroddiad... M. N.* 2, 8.

RHOES, rhoes
Fy nghred i'r Gwr fu ar y Groes,
Mi rodiaf er ei glod drwy f'oes;
Drwy farwol loes fe'r dalai'r iawn,
A dattod wnaeth fy rhwymau'n rhwydd.
Rhoed im' er llwydd, waprediad llawn.

2 I Ti
Fy addunedau dalaf fi,
Yn ngwydd y rhai a ddel yn llu,
I'th gyd-addoli di drwy ddawn,
Gan wledda ar ddanteithion ne'
Mewn hoffus le—a phiol lawn.

**585.** *Y Meddyg da. . . M. N.* 2, 8.

DA, da,
Fod Iesu'n gwybod maint fy mhla,
Yn ewyllysgar fe'm iachâ:
Mae'n ffafr fawr bod dan ei law,
Y meddyg goreu fu erioed;
Caiff gyflawn glod yr ochr draw.

2 Clod, clod,
Pryd hyn i'w enw fyddo'n bod,
Am iddo sylwi arna'i erioed,
Myfi yr annheilyngaf un;
Ond rhyfedd yw ei gariad ef,
Mae'n danllwyth gref yn para'n un.

**586.** *Tangnefedd Duw. . . M. N.* 2, 8.

GWELL yw
Na holl fwngloddiau aur Peru,
Yn angeu ceidw hwn fi'n fyw—
Tangnefedd Duw! O faint a dâl
Yn nghanol gorthrymderau'r byd!
Yn awr mae'r golud hwn i'w gael.

2 Y gwaed
Gynt ar Galfaria fryn a gaed,
Pan hoeliwyd Iesu ddwylo a thraed,
A rydd i'm henaid euog hedd;
A rhydd orfoledd dan fy mron
Fel gallwy'n llon wynebu'r bedd.

**587.** *Rhad drugaredd. .. M. N. 2, 8.*

MAE, mae
Ein Harglwydd hael yn trugarhau,
Ei rad drugaredd sy'n parhau;
Nis gallwn lai na'i foli'n awr,
Am iddo'n dwyn i oleu'r dydd,
A'n tynu'n rhydd o'r cystudd mawr.

2 Mawr, mawr
Yw'r gras a eglurwyd ini'n awr,
Mae'n dyled wedi'i dalu i lawr,
A'r ffordd o'r llawr i'r nef yn rhydd;
Gelynion yn eu hol sy'n troi,
Yn gorfod ffoi rhag arfau ffydd.

3 Trwy ffydd
Yn ngwaed yr Oen y'n gwnaed yn rhydd,
O'n carchar a'n caethiwed prudd;
Ond ein Meichniydd, fe'i daliwyd E',
I ateb holl ofynion Duw,
(Rhyfeddol yw) aeth yn ein lle.

4 Yn lle
Y dynion gwaetha' dan y ne',
Yr Oen difai, dyoddefodd E',
A hyn wy'n ddadleu f'anwyl Dduw;
A than ei gysgod gwnaf fy nyth,
Mi a'i caraf byth, tra byddwyf byw.

**588.** *Nerth yn angeu... M. N. 2, 8.*

Pwy ddaw
Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw,
Pan ddelo byddin brenin braw,
I'm cyrchu draw i'm cartref hir?
Nid oes a saif yn graig a thŵr,
Yn ngrym y dŵr ond Iesu'n wir.

2 Fy sail,
A'm hunig noddfa dan yr haul,
A'm cysur mwy fydd Adda'r ail;
Rho'f adail arno, dyma'r graig
A ddeil fy enaid i barhau,
Nes dianc fry o drygau'r ddraig.

**589.** *Rhwygo'r llen. . . M. N.* 2, 8.

Y LLEN,
Sydd rhyngwy'n awr a'r nefoedd wen,
A rwygodd Iesu hyd y nen,
I'r wlad uwchben fe'm harwain Ef,
I'm llon orphwysfa dringo gaf
I fynwes Nâf o fewn y nef.

2 Ni ddaw
Na phoen na gofid, och na braw,
I neb o'r saint yr ochr draw:
Dont yn ei law i'r hyfryd wlad,
I seinio cân dragwyddol mwy
Am farwol glwy', ac am y gwaed.

**590.** *Dedwyddwch y nef. . . M. N.* 2, 8.

MAE, mae
Yr amser hyfryd yn nesâu,
Pan gaffo'm henaid ei ryddhau;
O'm tŷ o glai fyn'd tua'm gwlad,
Nid yma mae ngorphwysfa i,
Mae hono fry, yn nhŷ fy Nhad.

2 Daw, Daw,
Fy Iesu i'm harwain yn ei law
O'r anial drwg i'r ardal draw;
I'r bywyd dystaw, pur, diboen,
Caf ganu'n llafar gyd a'r llu,
Gân Moses fry, a chân yr Oen.

3 Braint, braint,
Yw cael cymdeithas gyd â'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint;
Ni ddaw un haint fyth iddynt hwy:
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
Ond yn y nef hi fydd yn fwy.

**591.** *Gorfoledd y nef... M. N.* 2, 8.

BYDD, bydd,
Rhyw ganu peraidd iawn ryw ddydd
Pan ddelo'r caethion oll yn rhydd:
Fe droir eu ffydd yn olwg fry,
Cydunant byth heb dewi â sôn,
I foli'r Oen fu ar Galfari.

2 Gwledd, gwledd,
Sydd eto'n bod tu draw i'r bedd,
Dros byth i'w chael i'r gwael eu gwedd,
Lle bydd caniadau maith di-ri',
I bara beunydd yn ddiboen,
Gan foli'r Oen fu ar Galfari.

3 Gras, gras,
Yw'r newydd gân bereiddia'i blâs,
Fu erioed ar wyneb daear lâs;
Hi ddeil ei blâs pan losgo'r byd,
A berwi'r môr a'i dònau'n dân,
Y newydd gân fydd gras i gyd.

**592.** *Telynau'r Saint... M. N.* 2,8.

BRAINT, braint,
Nad ellir byth mynegi'i maint,
Fydd bod yn un o'r ffyddlon saint;
Pan ddel digofaint Duw ryw ddydd
Ar rai digred, fel storom gref,
Y duwiol, ef diangol fydd.

2 Y rhai'n
A wisgir oll â lliain main,
Telynau gânt o beraidd sain,
I ganu anthem faith o glod,
I'r Hwn fu gynt dan farwol glwy',
Teyrnasa mwy tra'r nef yn bod.

**593.** *Tawelu y mor... M. N. 6au.*

O DDUW ein tadau clyw,
Yr hwn yn oesoedd gynt,
Mewn awr o berygl byw,
Geryddaist fôr a gwynt:
Pan godai'i dònau dû,
Yn genllif dros y bad,
Gan rym dy gerydd di,
Tawelwch mawr a gaed.

2 Bellach nid ofnaf mwy
Ryferthwy gwynt a môr;
Mewn llawn ddiogelwch 'rwy'
Yn ymyl f' Arglwydd Iôr;
Yn mhob rhyw awr o bwys,
'Rwy'n gorphwys wrth ei draed,
Drwy weddi a dagrau dwys,
Diogelwch yno gaed.

3 O Dduw ein tadau clyw,
Ac erglyw ar ein llef;
Ein taith, peryglus yw,
Ar dir a môr îs nef;
Gelynion rif y sêr,
A llymder yn eu llid,
Yn erbyn seintiau Nêr,
Sydd yn yr anial fyd.

4 Paham, medd Iesu gwiw,
Sydd wrth y llyw 'mhob lle,
Yr ofnwch ddynion byw?
(Yr Arglwydd Dduw yw E'!)
Ei lais lonydda'r môr,
Pan mae'n dygyfor draw:
Wrth lef'r anfeidrol Iôr,
Mae gwynt a môr mewn braw.

5 Pa fath ryw ddyn yw hwn,
Gofynwn gyda braw,
Sy'n tori'r terfysg blin,
A gyru'r dychryn draw?
Hwn yw Jehofa nef,
Fu'n goddef marwol glwy',
A hwn a'm dwg ryw ddydd,
Lle na bydd terfysg mwy.

**594.** *Ymhyfrydu yn Nuw. . . M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

MI dreulia' oriau f'oes
Yn dawel dan y groes,
Dim ond cael edrych ar dy wedd;
Perffeithrwydd pleser yw,
Y wledd o gariad Duw,
Fy holl ddyddanwch a fy hedd.

2 'Does unrhyw drysor drud,
Fel Ef o fewn y byd,
Mae'n gwneud fy ysbryd llesg yn llon;
Mwy'n llawen byddai'n byw,
Yn noddfa bur fy Nuw,
Dan holl gystuddiau'r ddaear hon.

3 Rho nerth i ddwyn y groes,
Tra paro dyddiau f'oes,
Na âd im' ddigaloni mwy;
Wrth wel'd gelynion lu,
Eu saethau'n aml sy'
O cuddia fi o fewn dy glwy'.

**595.** *Iachawdwriaeth. . . M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

O IACHAWDWRIAETH fawr!
A lifodd i ni lawr
Yn ffrydiau pur grisialaidd byw;
Maddeuant i ni gaed,
A heddwch yn y gwaed,
O gariad rhad ein Tad a'n Duw.

2 Am iachawdwriaeth lawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
Moliannu gawn yr Iesu gwiw;
Dyoddefodd angeu loes
Yn ddiddig ar y groes,
A'i ddoniau roes i ddynolryw.

3 Gorphenwyd talu'n llawn,
Ar groesbren un brydnawn,
O ddedwydd iawn! ni gawn yn llu,
Faddeuant yn ei waed,
A hollol wir iachad,
A Duw yn Dad, mewn cariad cu.

4 Rhyw dorf o ddysglaer lu
O flaen y fainc y sy,
Yn moli'n gu, a'u mawl ar g'oedd;
Angylion pur eu cân,
A seintiau fawr a mân,
Yn Salem lân, byth wrth eu bodd.

**596.** *Ffynon rad. . . M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

AGORWYD ar y bryn,
Ryw ffynon rad cyn hyn,
A'm gylch yn wyn o'm pen i'm traed;
Mae'n golchi'r dua' ei liw,
Mor wyn a'r eira gwiw,
Rhinweddol yw y dwyfol waed!

2 Y ffynon loyw hon,
Yn ol y waywffon,
Aeth dan ei fron, daeth i ni fraint,
Hi ylch y brwnt yn lân,
Hosanna f'enaid cân,
Can's dyma sylfaen yr holl saint.

3 Y ffynon loyw hyn
A darddodd ar y bryn,
Yn ffrydiau o anfeidrol hedd;
Rhyw fôr o gariad yw
Dy heddwch di fy Nuw,
A nef y nef yw gwel'd dy wedd.

**597.** *Difyrwch mewn trallod...M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

ANGHENUS wyf o hyd,
Mewn trallodedig fyd,
Heb ynddo ddim i'm henaid gael
All roddi im' ryddhâd,
Na grym nac esmwythâd,
Ond haeddiant rhad yr Iesu hael.

2 Oud er mewn anial le,
Heb gyfaill îs y ne',
Mi alla'n hawdd yn ngwedd fy Nuw,
Ddifyru'm hoes mewn hedd,
Nes myn'd i byrth y bedd,
Yn hyfryd wedd ei wyneb gwiw.

**598.** *Gras i gyd...M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

O RAS, rhad ras i gyd,
Mae'r iechydwriaeth ddrud,
Mae oll 'run pryd yn rhad i ni:
Drwy rinwedd gwerth y gwaed,
Anfeidrol iawn a gaed,
I'r tlawd yn rhad ar Galfari.

2 Am ras yn dechreu'r gwaith,
Am ras ar hyd y daith,
Yr anthem faith fydd byth i'r Oen:
Am gadw ar bob llaw,
Bydd mawl ryw ddydd a ddaw,
Gan dorf heb fraw, na briw na phoen.

**599.** *Gobaith gwynfydedig...M. N.* 6, 8, 6—1*af.*

PLANT caethion Babilon,
Ddont adre' o dòn i dòn,
Cânt wledda'n llon, mae'r dydd gerllaw,
Yn ngwydd eu Harglwydd da,
O sŵn y byd a'i blâ,
O ddedwydd ha', pa bryd y daw?

2 Mi wnaf fy nghartre' mwy
Dan gysgod marwol glwy',
'Does noddfa addas dan y nef,
I'r euog gael glanhâd,
Ond yn y ffynon râd
O ddwfr a gwaed a gollodd Ef.

3 'Rwy'n nesu at yr awr
I gael fy nhori i lawr,
A'm dodi i orwedd lle bu Ef;
Lle i orphwys yno sydd,
Hyd oni ddelo'r dydd
Daw Iesu ar gymylau'r nef.

4 Dysgwyliwn ronyn bach,
Cawn ddod yn gwbl iach,
Ac yna bydd caniadau heb ri':
A'u sylwedd fydd y gwaed,
A ddyry im' iachâd,
A'r goncwest gaed ar Galfari.

**600.** *Iawn Crist...M. N.* 6, 8, 6—*2il.*

FY enaid, dringa draw,
Lle bu dy Frawd dan fraw,
Yn dyodde'r llid, a'r gwawd i gyd,
Rhydd hyn i'th ofid daw;
A gwel ei gur, dan hoelion dur,
Mewn llafur eithaf llawn:
Dawn byth nid oes ddarlunia'i loes
Yr awr y rhoes, ar greulon groes,
Ei einioes yno'n Iawn.

2 Fy ngobaith dan bob croes
Yw'r Iawn, yr Iawn a roes
Ein Meichiau pur dan hoelion dur,
Ei lafur ef a'i loes;
Pan ddelo'r pryd daw'r saint yn nghyd
I wynfyd y nef wen,
Dadseiniant lef peroriaeth gref,
Drwy nef y nef, Boed iddo Ef
Y mawl a'r clod, Amen.

**601.** *Crist yn bob peth...M. N.* 6, 8, 6—*2il.*

MI deithia'r anial trwy
Y rhinwedd sy'n ei glwy',
Fy nghadarn sail yw Adda'r ail,
Gwnaf f'adail arno mwy:
Tragwyddol graig yw Had y wraig,
Rhag drygau'r ddraig a'i llid;
Mae'n Feddyg da, fe'm llwyr wellha,
O'm dyfnaf bla, a'm cànu wna,
Fy Nghyfaill gora' i gyd.

2 Ne fedda'i dan y ne',
Yn unig ond Efe,
Fy noddfa a'm Nêr, sydd uwch y sêr,
A'm llawnder yn mhob lle:

Fy Nhad a Nhŵr, a'm sylfaen siwr,
  Hwn ydyw'r gwr a ge's;
Ei hun fe roes, ei fath nid oes,
Mi gym'ra'i groes tra paro f'oes,
  Gwnaeth lawer im' o les.

3 Ar dân, yn lân bo llu
  Yn canmol Iesu cu;
Gwnaeth daliad llawn, ar un prydnawn,
  Am hyny awn yn hy'
At orsedd Iôr, mae yma stôr,
  Fyth fel y môr a mwy;
Ei haeddiant ef sy'n noddfa gref,
O ganol nef, fe glyw ein llef,
  Bu'n dyoddef marwol glwy'.

**602.** *Dyfroedd yr iachawdwriaeth...M. N.* 6, 8, 6—2*il*.

MAE'R ffynon heb ei chau,
  Sy'n golchi'r ffiaidd rai,
Mae croeso'n hon, i bawb yn llon,
  I gael eu llwyr lanhau;
Ceir gweled llu o'r Negroes du,
  Oll wedi eu cànu'n lân:
Mewn ffynon lawn o ddwyfol ddawn,
Ein golchi gawn, yn hyfryd iawn;
  Fil myrdd fel eira mân.

2 Un aberth mwy nid oes,
  Ond Iesu fu ar y groes,
Iachawdwr rhad, trwy rin ei waed,
  Rhydd im' ryddhad o'm loes!
Mae'n gadarn Iôr, a'i ras yn stôr,
  Fel môr o drysor drud;
Ac ato Ef, sy' ar orsedd nef,
Dyrchafa'm llef, am gymhorth gref,
  I goncro 'meiau gyd.

3 Fy unig noddfa yw
Yr Oen, mae'n Geidwad gwiw,
Fe gollai'i waed, rhydd lwyr iachâd,
O'i rad i ddynolryw:
Ei nerth a gâf, pa elyn sâf
O flaen fy Nâf o'r nef?
Caf yn y màn, er bod yn wàn,
Yr hyfryd làn yn rhwydd, a'm rhan
Yn gyfan gydag ef.

**603.** *Nerth yn ol y dydd...M. N.* 6, 8, 6—*2il.*

YR Arglwydd ar fy nhaith,
A'm daliodd lawer gwaith,
Yn nyfnder loes, dan faich a chroes,
A gorthrymderau maith:
Yn un heb nerth, ar greigiau serth,
Ce's fyw trwy werth y gwaed;
A'r gras a fu, yn rhad o'm tu,
Mae eto'n gry' i fwrw llu
O elynion tan fy nhraed.

2 Paham yr ofnaf lu?
Mae cadarn fraich o'm tu;
Y rhyfel sydd, o ddydd i ddydd,
Yn eiddo i'm Prynydd cu;
Wel, ato ef, am nodded gref,
Mi goda'm llef a'm cri;
Yn llesg a chlaf, taer-alw wnaf,
Nerth ganddo gaf, sef Duw fy Nâf,
Ein Tad anwylaf ni.

**604.** *Angeu yn agos...M. N.* 6, 8, 6—*2il.*

O DDUW, rho im' dy hedd,
A golwg ar dy wedd,
A maddeu'n awr fy meiau mawr,
Cyn'r elwyf lawr i'r bedd:

Ond im' gael hyn, nid ofna'r glyn,
Na cholyn angeu'n hŵy;
Dof yn dy law i'r ochr draw,
Heb friw na braw, ryw ddydd a ddaw,
Uwchlaw pob loes a chlwy'.

2 Dy gymhorth, Arglwydd, dod,
I rodio er dy glod,
A byw trwy ffydd, o ddydd i ddydd,
Gan estyn at y nôd;
Cael treulio'm hoes i Grist a'i groes,
Er pob rhyw loes a chlwy',
A byw heb wad, i roi mawrhad,
I gariad rhad, fy Iesu mâd,
Fydd fy nymuniad mwy.

3 Mae'm rhedfa îs y rhòd
Yn nesu at y nôd,
I'm hymdaith hon, îs awyr gron,
Mae diwedd bron a dod;
Fy mhabell frau sydd yn llesghau,
Ac yn gwanhau o hyd;
Ac yn y man, daw'r amser pan
Bydd f'enaid gwan yn fywiol ran
Mewn annherfynol fyd.

**605.** *Darostyngiad Crist...M. N.* 6, 8, 4.

JEHOFA ddaeth i lawr,
O blith nefolaidd lu,
Rhyfeddwn ninau oll yn fawr
Ei gariad cu:
Henffych i'r dedwydd ddydd,
Immanuel a gaed,
Caiff pechaduriaid fyn'd yn rhydd,
Trwy werthfawr waed.

2 Cymerodd agwedd gwas,
I guddio'i ddelw'i hun:
Anfeidrol yw dyfnderoedd gras,
I achub dyn:
Henffych i'r dedwydd ddydd,
Immanuel a gaed,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd,
Trwy werthfawr waed.

3 "Gogoniant fo i Dduw,"
Oedd cân y nefol lu,
"Gogoniant," d'weded dynolryw,
Mwy achos sy;
Rhodd Duw i ni yw ef,
Sydd bechaduriaid trist;
O cyd-folianwn â llu'r nef,
Am Iesu Grist.

**606.** *Edrych ar wanu Crist...M. N.* 6, 8, 4.

MEWN edifeiriol gri,
A'n golwg tua'r groes,
Derchafwn aberth Calfari,
A'r ddwyfol loes:
Edrychwn arno Ef,
Galarwn nawr yn nghyd,
Wrth gofio am Dywysog nef,
A'i angeu drud.

2 Yn ngolwg dwyfol waed,
Rhyfeddwn ddrwg ein bai,
Ni chawsem byth hedd nac iachâd
Drwy aberth llai;
Wrth syllu ar ei glwy',
Daw'n holl gadwynau'n rhydd,
A'n holl ganiadau ninau mwy
I'w enw fydd.

**607.** *Eiriolaeth Crist...M. N.* 6, 8, 4.

EIRIOLAETH Crist sydd gref,
Fe lwydda gweddi'r gwan,
Mae'n eistedd ar orseddfainc nef
Nawr ar fy rhan;
Mae yno gyda'r Tad,
Yn dadleu'r Iawn a roes:
Cyn hir câf finau lwyr iachâd,
Trwy rîn ei loes.

2 Mae'm Harchoffeiriad mawr
Yn gweini yn ei le;
Mae'n byw i eiriol droswy'n awr,
Fry yn y ne';
Mae ar ddeheulaw'r Tad,
Ar uchel orsedd wen;
Gwrandewir llef ei ddwyfol waed,
Tu draw i'r llen.

3 Pan âf i ben y daith,
At dywell làn y glyn,—
Y dydd a ofnais lawer gwaith
Ei wel'd cyn hyn;
Fe gaiff fy enaid gwan
Hardd olwg ar y Gwr,
Yn sefyll yno ar ei glàn,
I hollti'r dŵr.

**608.** *Pen yr eglwys...M. N.* 6, 8, 4.

MAE Iesu'n maddeu'r bai,
Mae'n golchi'r Ethiop du,
Ni thal'sai archoffeiriad llai
I eiriol fry;
Anfeidrol iawn a rodd,
Wrth farw ar y bryn,
Fe wnaeth gyfiawnder wrth ei fodd,
Rhyfeddir hyn.

2 Fe'i temtiwyd fel nyni,
Fe wrendy ar ein cwyn,
Croeshoeliwyd ef ar Galfari,
Do, er ein mwyn:
Mae'n awr tu draw i'r llen
Yn Llywydd nef y nef,
Ni fedd yr eglwys neb yn Ben,
Neb byth ond Ef.

**609.** *Hyder y credadyn...M. N.* 6, 8, 4.

AM fod yr Iesu'n fyw,
Byw hefyd fydd ei saint,
Er gorfod dyoddef poen a briw,
Mawr yw eu braint,
Bydd melys lanio draw,
'Nol bod o don i don,
Ac mi rof ffarwel maes o law
I'r ddaear hon.

2 Daeth allan ddwfr a gwaed,
Yn rhyfedd rad i ni;
Ni chollwn ddim o'r trysor gaed
Ar Galfari,
Fe gènir myrdd yn wyn,
Oll fel yr eira mân,
Ceir gwel'd rhai ffiaidd y pryd hyn
Yn berffaith lân.

3 Anturiaf bellach mwy,
Er cymaint grym fy mai:
Trwy'r haeddiant dwyfol sy'n ei glwy'
Heb lwfrhau,
O flaen yr orsedd wen,
Ffieiddiaf un o'r blaen,
Gan gredu gall Tywysog nen
Fy ngwneud yn lân.

**610.** *Ymbil am gymhorth...M. N.* 6, 8, 4.

Ti, Arglwydd, yw fy rhan,
A'm trysor mawr didrai,
A noddfa gadarn f'enaid gwan
Yn mhob rhyw wae;
Ac atat 'rwyf yn ffoi,
Dy fynwes yw fy nyth,
Pan fo gelynion yn crynhoi,
Rifedi'r gwlith.

2 Tydi, fy Nuw, ei hun,
Anfeidrol berffaith Fod,
Sy'n trefnu daear, da, a dyn,
I'th ddwyfol glod;
Cyf'rwydda f'enaid gwan
Trwy'r anial dd'od yn mlaen,
Ac arwain fi 'mhob dyrus fan
A'th golofn dân.

3 Dy Ysbryd sanctaidd cun,
Dywysodd fyrdd o saint,
Rho i mi brofi'i felus rin,
Anfeidrol fraint;
Fel dyfroedd gloyw clir,
I loni'r llesg a gwan,
Dyddanwch yn yr anial dir
I'm dal i'r làn.

**611.** *Help i'r gwan...M. N.* 6, 8, 4.

O TYRED, addfwyn Oen,
Iachawdwr dynolryw,
At wael bechadur sydd dan boen
Ac ofnau'n byw;
O helpa eiddil gwan
I'r làn o'r pydew prudd,
A rho drwy rinwedd dwyfol waed
Fy nhraed yn rhydd.

2 O angeu pur y groes,
Ti bellach fydd fy nghân;
Nid oedd i'w gael ond ar y groes
A'm golcha'i yn lân:
Y ffynon loyw lawn
Sydd barod iawn o hyd,
I olchi'r Ethiop du yn wyn,
Hyd eitha'r byd.

**612.** *Plaid yn yr anial...M. N.* 6, 8, 4.

WRTH deithio'r anial mwy,
Edrychaf tua'r nôd:
Nid oes a'm deil dan bob rhyw glwy'
Ond Iesu'n bod;
Ei lais sy'n hyfryd iawn,
A'i ddawn a gaf wrth raid,
Ni cheisiaf, foreu na phrydnawn,
Ond Ef yn blaid.

**613.** *Mawl i Dduw...M. N.* 6, 6, 8.

RHOWCH glod i'r uchel Dduw,
Iôr nef a daear lâs;
Brenin breninoedd yw,
Rhyfedded pawb ei ras;
Trugaredd Duw a bery byth,
A'i air dilyth safadwy yw.

2 Fe'n canfu ni ar goll
Trwy bechod, oll i gyd;
O'i ras tosturio wnaeth
Wrth gyflwr caeth y byd:
Trugaredd Duw &c.

3 Danfonodd Duw i'r byd
Ei anwyl Fab ei hun;
Bu farw Crist mewn pryd
I wared euog ddyn:
Trugaredd Duw &c.

4 Rhowch foliant iddo'n awr,
Duw, Brenin mawr y nef:
A chaned daear faith
Am waith ei gariad ef:
Trugaredd Duw &c.

**614.** *Genedigaeth Crist...M. N.* 6, 6, 8.

DAETH Llywydd nef a llawr
I wisgo dynol gnawd;
Wel, henffych, Arglwydd mawr,
A henffych, dirion Frawd;
Henffych i'n Duw a'n Ceidwad hael,
Cymerodd arno ein natur wael.

2 Pa dafod, neu pa ddawn,
A fedd angylaidd lu,
A ddywed byth yn llawn
Am ras ein Ceidwad cu?
Ei waed fe roes o'i gariad gwiw,
I gànu'r dua a'r gwaela'u rhyw.

3 Mae cariad yn ei wedd
At wael golledig fyd;
Cyfiawnder llym a hedd
Yn ymgusanu 'nghyd:
Trugaredd a gwirionedd pur
A ymgyfarfu yn ei gur.

**615.** *Prophwyd mawr...M. N.* 6, 6, 8.

GWIR Brophwyd mawr, fy Naf,
Ar dân y'th folaf di,
Am y newyddion da
O'n hiechydwriaeth ni:
Newyddion gwiw am bardwn rhad
Oddiwrth y Tad i ddynolryw.

2 Cynghorwr i mi bydd,
A gwiw Arweinydd mwyn,
Er bod yn llesg a phrudd,
Drwy'r anial dir gwna'm dwyn:
Na âd i mi oddiwrthyt ffoi,
Neu i draws ffyrdd o'th lwybrau droi.

3 'Rwy'n caru Mugail da,
Fy ngwylio mae o'r nef,
Fy nghadw'n ddiogel wna
Yn mysg ei ddefaid ef:
Fe bortha'i braidd, a dwg ei ŵyn,
Er gwaetha'r blaidd, i'w fynwes fwyn.

**616.** *Fflam cariad...M. N.* 6, 6, 8.

FFLAM ydyw cariad cryf,
O nefol ddwyfol dân;
Er bod mewn llawer llif,
Ni ddiffydd hon yn lân:
Bydd cariad byth yn llenwi'r nef,
A'r gân o hyd fydd—Iddo Ef.

2 Ni roddir gormod byth
I'r Hwn a rodd ei hun;
Ei gariad rhad dilyth
Sy'n gofyn pobpeth dyn:
Ewch ymaith felus chwantau'r byd,
Mae cariad Crist yn dwyn fy mryd.

**617.** *Iawn Crist...M. N.* 6, 6, 8.

WRTH feddwl am y gwaed
A lifodd ar y groes,
A'r iawn anfeidrol gaed
Yn angeu Crist a'i loes;
O todded ein calonau nawr
Wrth gofio am ei gariad mawr.

2 Y cwpan chwerw llawn,
A yfodd Iesu i gyd,
Cyfiawnder gafodd iawn
Yn ei ddyoddefaint drud:
Gogoniant byth a fo ar ben
Yr Oen fu farw ar y pren.

**618.** *Adgyfodiad Crist...M. N.* 6, 6, 8.

'NOL marw Brenin hedd,
A'i eiddo i gyd yn brudd,
A'i roi mewn newydd fedd,
Cyfodai'r trydydd dydd:
Boed hyn mewn côf gan Israel Duw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

2 Pan codai Mab y dyn,
Trwy ddwyfol allu mawr,
Y ceidwaid bob yr un,
Fel meirw cwympent lawr:
Boed hyn mewn côf gan Israel Duw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

3 Y Prynwr aeth yn rhydd,
'N ol rhoddi taliad llawn,
A Duw'n cyhoeddi sydd,
"Yn hwn mi gefais iawn;"
Gwnaeth ffordd yn rhydd i fyn'd at Dduw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

**619.** *Adgyfodiad Crist...M. N.* 6, 6, 8.

CYFODODD Brenin hedd,
Iachawdwr dynolryw,
Mewn gogoneddus wedd,
O'r tywyll fedd yn fyw:
Ein bywiol ben esgynodd fry,
Goruwch pob llu, tu fewn i'r llen.

2 O rwymau angeu caeth,
Yn rhydd y daeth Mab Duw;
Gorchfygu'r bedd a wnaeth
Mewn buddugoliaeth wiw:
Derbyniodd ef bob gallu mawr
Trwy'r ddaear lawr yn awr a'r nef.

3 Er bod ei gorph yn nghudd,
Tan orchudd angeu'n gaeth,
I'r lân, yn gwbl rydd,
Y trydydd dydd y daeth:
Er bod tan glwy', ni allai'r bedd,
Trancedig wedd, mo'i attal mwy.

4 Dadglôdd y bàrau dur,
Dirymodd Iesu'r sêl;
Fe aeth, er gwaetha'r gwŷr,
A'r frwydr faith heb gêl:
Ein Blaenor gwiw, er myn'd dan glo
Yr angeu dro, mae eto yn fyw.

**620.** *Cymod trwy Grist...M. N.* 6, 6, 8.

MAE Duw'n cymodi'r byd
Yn Nghrist âg ef ei hun,
Gan faddeu'u beiau i gyd,
Heb gyfrif iddynt 'r un;
Derbyniwch nawr y cymod rhad,
Bwrcasodd Crist â'i werthfawr waed.

2 O dewch i'r dyfroedd byw,
Drueiniaid gwael heb nerth,
A phrynwch win a llaeth,
Heb arian ac heb werth;
Mae yma fodd i'ch cyfiawnhau,
A'ch puro'n lân oddiwrth eich bai.

3 Af at yr orsedd lân,
Er dued yw fy lliw;
Er haeddu uffern dân,
Mae gobaith im' gael byw;
Mae'r Oen a laddwyd ar y bryn,
Yn dadleu'i waed am fywyd im'.

## 621. *Mawl Emmanuel...M. N.* 6, 6, 8.

HOSANNA i'n Brenin mwyn,
Un o waed Dafydd yw;
Fe ddaeth o'i fodd i ddwyn
Maddeuant oddiwrth Dduw;
Ieuanc a hen, dewch at ei draed,
Anrhydedd rhowch i'r gwir Fab rhad.

2 Gogoniant i'r Duw mawr,
Yr Oen roes droswy'i waed,
Cyhoedded nef a llawr
Ei ryfedd gariad rhad;
Bendithion fyrdd fo ar ei ben,
A moled pawb yr Oen, Amen.

3 I enw Crist a'i ras
Mae'n addas plygu'n awr,
O'n bodd coronwn Ef
Yn Arglwydd nef a llawr;
Ei barch a'i harddwch elo'n mlaen
Nes enill serch y byd yn lân.

## 622. *Teilwng yw'r Oen...M. N.* 6, 6, 8.

YMGRYMED pawb i lawr,
I enw'r addfwyn Oen,
Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd sôn;
Y clod, a'r mawl, y parch, a'r bri,
Fo byth i enw'n Harglwydd ni.

2 O nefol addfwyn Oen,
Sy'n llawer gwell na'r byd,
Mae lluoedd maith y nef
Yn rhedeg arno'u bryd:
Mae'th ddawn, a'th ras, a'th gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

3 Llawn Haleluia mwy,
I Frenin nef a llawr,
Dyoddefodd farwol glwy',
I'm dwyn o'r cystudd mawr;
O ddedwydd awr, O ddwfn loes!
Bu'm Iesu farw ar y groes!

**623.** *Edifeirwch...M. N.* 6, 6, 8.

TOSTURIA, nefol Dad,
Wrth lais pechadur clyw;
O'th fawr drugaredd gad
I wrthryfelwr fyw;
Yr un yw maddeu gyda thi
Bechodau mawr, a'r lleia' o ri'.

2 Ymddiried byth yr wyf
Yn ngallu Iesu Grist,
Ac yn ei farwol glwyf
I achub f'enaid trist;
Ac hefyd dysgwyl wnaf bob dydd
Fwynhau effeithiau bywiol ffydd.

3 Tor fy nghadwynau cas,
Cyf'rwydda 'nghamrau oll
Yn llwybrau pur dy ras,
Nad elwyf mwy ar goll:
O dysg ac arwain fi'n ddifeth
I wneud d'ewyllys yn mhob peth.

**624.** *Llef y tlawd...M. N.* 6, 6, 8.

I FYNY at fy Nuw,
 Fy enaid cwyd dy lef,
Heibio yr euraidd lu,
 I eithaf nef y nef;
Gostwng dy glust o'r bryniau fry,
O Arglwydd grasol cofia fi.

2 Wyf yma'n wael fy ngwedd,
 Yn euog ac yn wan,
Gelynion creulon sy'n
 F'amgylchu yn mhob man;
Bydd i mi'n blaid i goncro'r llu,
O Arglwydd grasol cofia fi.

3 Yn wyneb uffern ddu,
 Ac angeu mawr ei rym,
Rho i mi nerth wrth raid,
 Bydd di yn nodded im':
Yn nyfroedd cryf Iorddonen ddu,
O Arglwydd grasol cofia fi.

**625.** *Milwriaeth y Cristion...M. N.* 6, 6, 8.

MAE'R Brenin yn y blaen—
 'R ŷm ninau oll yn hy';
Ni saif na dŵr na thân
 O flaen fath arfog lu:
Ni awn, ni awn dan ganu i'r làn,
Cawn wel'd ein concwest yn y màn.

2 Ni ddylai neb lesgau
 Yn myddin Brenin nef;
Ond derbyn i barhau
 O'i nerthoedd hyfryd Ef:
A thrwyddo awn dan ganu i'r làn,
Cawn wel'd ein concwest yn y màn.

3 Er maint yw lled y dŵr,
Er maint yw grym y dòn,
Ac er i'r dymhestl gref
I guro dan fy mron:
'Dyw'r tonau maith, 'dyw'r dymhestl ddim,
I nerth yr hwn sy'n Briod im'.

**626.** *Gras anchwiliadwy...M. N.* 6, 6, 8.

O FFYNON fawr o hedd,
O anchwiliadwy fôr,
Sy'n cynwys ynddo'i hun
Ryw annherfynol stôr,
Ti bia'r clod, wel cymer e',
Trwy'r ddaear, uffern fawr, a'r ne'.

2 Noddfa pechadur trist,
Dan bob drylliedig friw,
A phwys euogrwydd llym,
Yn unig yw fy Nuw;
'Does enw i'w gael, o dan y nef,
Yn unig ond ei enw Ef.

3 Bendithion heb ddim-rhif,
Cysuron maith didrai,
Sy'n tarddu o honot ti,
Fy Nuw er maint fy mai:
Nis gallaf byth ddymuno mwy
Na'r trysor sydd mewn marwol glwy'.

**627.** *Gwaredigaeth lawn...M. N.* 6, 6, 8.

DYSGLEIRIA foreu wawr,
'Nol nos o faith barhad,
Datguddia imi'n awr
Ryw ran o'r hyfryd wlad,
Lle rhed afonydd dwyfol ryw,
Fel môr didrai dros Sïon wiw.

2 A thyna'r boreu ddydd,
Caf finau seinio cân,
Ar ol caethiwed maith,
Am waredigaeth lân;
O hyfryd ddydd! pa bryd y daw?
'Rwy'n dysgwyl fod y wawr gerllaw.

3 Dysgleiried dwyfol ras
Dros holl derfynau'r byd,
Diflaned pechod cas
O gyrau hwn i gyd:
Ac uned pob creadur byw
Ar nefol dôn, i foli Duw.

## 628. *Jubili...M. N.* 6, 6, 8.

UDGENWCH, weision Duw,
Yr udgorn arian mawr,
A chlywed dynolryw
Dros barthau daear lawr;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid gwiw i'r rhai oedd gaeth.

2 Dadgenwch oll ar g'oedd,
Dros wyneb daear las,
Ar lawen uchel floedd,
Anrhydedd Crist a'i ras:
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid gwiw i'r rhai oedd gaeth.

3 Trowch bechaduriaid trist
Wrth lais efengyl fwyn,
O'ch cyflwr caeth at Grist,
Fe wrendy Ef eich cwyn:
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid gwiw i'r rhai oedd gaeth.

4 Dadseinied gras ein Duw
I bell derfynau'r byd,
A doed ei deyrnas wiw
Tros gyrau hwn i gyd:
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid gwiw i'r rhai oedd gaeth.

**629.** *Blwyddyn y Jubili...M. N.* 6, 6, 8.

ER myned oll yn gaeth,
A chyfeiliorni'n bell,
Trwy Iesu Grist fe ddaeth
In' etifeddiaeth well;
Gwnaeth iawn i'w Dad a hedd i ni,
Trwy waed ei groes ar Galfari.

2 Chwi garcharorion prudd,
Dechreuwch lawenhau:
Fe wawriodd arnom ddydd,
Daeth Iesu i'n rhyddhau:
Trwy fuddugoliaeth Calfari,
Fe ddaeth yr hyfryd Jubili.

3 I gaethion Babilon
Cyhoeddir llawn ryddhad;
Dychwelwch adre'n llon,
Chwi waredigol had:
Enillodd Crist ein rhyddid ni,
Yn awr daeth blwyddyn Jubili.

4 Aed sain efengyl gras
O gwmpas daear lawr;
Doed pawb i brofi blas
Yr iechydwriaeth fawr:
I Sïon wiw doed torf ddiri',
Wrth sain pêr udgorn Jubili.

**630.** *Cynydd yr eglwys...M. N.* 6, 6, 8.

PWY ydyw hon yn wir,
  A welir fel y wawr?
Fel lleuad teg yw hi,
  Mae iddi enw mawr;
Pur fel yr haul, ei bath ni bu,
Ofnadwy fel banerog lu.

2 Rhyfeddu mawr a fydd
  Am gynydd eglwys Crist;
Ceir gweled yn y man,
  Yr isel, wan, a thrist,
Mewn tegwch, purdeb, a bri mawr,
Yn llenwi gwyneb daear lawr.

3 Ar fyr y daw yn nes
  I fynwes Crist yn wir;
Bydd gryfach yn ei gras,
  Perthynas fydd yn glir:
Iuddewon a Chenedloedd fydd
Yn unol dyrfa hardd ryw ddydd.

**631.** *Galwad yr Efengyl...M. N.* 6, 6, 8.

DEWCH, hen ac ieuainc, dewch,
  At Iesu, mae'n llawn bryd;
Rhyfedd amynedd Duw
  Ddysgwyliodd wrthym cy'd!
Aeth yn brydnawn—mae yn hwyrhau—
Ond drws trugaredd sydd heb gau.

2 Dewch, hen wrthgilwyr trist,
  At Iesu Grist yn ol;
Mae'i freichiau'n awr ar led,
  Fe'ch derbyn yn ei gôl:
Mae Duw yn rhoddi eto'n hael,
Drugaredd i droseddwyr gwael!

3 Dewch, bechaduriaid mawr,
Ffieiddiaf yn y byd,
Trugaredd sydd gan Dduw,
Er i chwi oedi c'yd;
Ni chofia Ef eich ffiaidd fai,
Gall gwaed y groes eich llwyr lanhau.

**632.** *Gwledd yr Efengyl...M. N.* 6, 6, 8.

GWNAETH mwyn Dywysog hedd,
A llaw anfeidrol hael,
Do, lawn dragwyddol wledd
I dlodion gweinion gwael:
'Doedd dim fath wledd yn Eden ardd,
Na ffrwyth mor hyfryd ac mor hardd.

2 Trugaredd, hedd, a gras,
A hoff gymdeithas Duw,
Yw'r peraidd ymborth bras,
Danteithion goreu'u rhyw;
A thaer y gelwir pawb i gyd,
O lwythau pell dalaethau'r byd.

3 Er bod rhyw dyrfa fawr
Yn gwledda yn Salem fry,
O fewn y neithior fawr,
Nis llanwyd eto'r tŷ:
Mae eto le i ddirfawr lu,
Dewch oll yn mlaen, gyfeillion cu.

**633.** *Buddugoliaeth yr Efengyl...M. N.* 6, 6, 8.

MAE'R faner fawr yn mlaen,
Efengyl hedd yw hon,
Mae uffern lawn o dân
Yn crynu ger ei bron;
Hi gwymp, hi gwymp, er maint ei grym,
O flaen fy Iesu 'dyw hi ddim.

2 I'r Gogledd, Dwyrain, De,
Ac i'r Gorllewin faith,
Yr elo'i enw E'
Yn glodfawr gan bob iaith;
Am glwyfau'r Oen a'i gariad rhad,
Boed melus ganmawl yn mhob gwlad

3 Aed grym efengyl Crist
Yn nerthol trwy bob gwlad;
Sain hyfryd gan bob clust
Fo'r iachawdwriaeth rad:
O cyfod Haul Cyfiawnder mawr,
Dysgleiria'n lân dros ddaear lawr.

**634.** *Buddugoliaeth yr Efengyl...M. N.* 6, 6, 8.

MAE enw'r addfwyn Oen
Fel peraroglau drud,
Am dano eled sôn
Dros holl derfynau'r byd:
Doed pobloedd, ieithoedd o bob gwla(
I lefain am ei gymod rhad.

2 Boed enw'r Iesu glân
Yn ddyrchafedig iawn;
Am dano f'enaid cân,
Foreuddydd a phrydnawn:
Ei enw'n bêr fo'n myn'd trwy'r byd,
Mewn nefol gân gan bawb yn nghyd.

**635.** *Llais y dwyfol waed...M. N.* 6, 6, 8.

MAE haeddiant dwyfol waed
Yn drymach yn y nef
Nâ'r pechod mwyaf gaed,
A'i holl euogrwydd ef:
Gwrandewir llais y dwyfol glwy',
O flaen eu damniol floeddiad hwy.

2 Gelynion creulon lu,
  A gawsant farwol glwy',
Ar fynydd Calfari,
  Paham yr ofnaf mwy?
Mae llais y gwaed yn uwch ei gri,
Nâ'm beiau oll, er maint eu rhi'.

**636.** *Swper yr Arglwydd...M. N.* 6, 6, 8.

DANTEITHION breision sydd
  Ar fwrdd ein Harglwydd Dduw;
Arlwywyd i ni wledd,
  Gwledd o ddigonedd gwiw;
Sef gwledd o gariad rhyfedd hael,
I newid gwedd yr enaid gwael.

2 Yr ymborth hwn a rydd
  Rym i newynog rai,
Sy'n teimlo angen dwys,
  Dan ddirfawr bwys a bai:
Mae'r ymborth hwn yn dwyn iachâd
I rai a gollodd wên eu Tad.

3 Mewn gostyngeiddrwydd pur,
  Dymunem oll nesâu,
I gofio'r Oen a'i gur,
  A'r cariad sy'n parhau:
Adgofio'r ydym yma'n awr
Am ddrylliad corph ein Harglwydd mawr.

4 Ymborthwn oll trwy ffydd
  Ar haeddiant Iesu mawr;
Mae arlwyadau gras
  Mewn newydd flas yn awr:
Dyrchafwn byth ein dwyfol Ben,
Mae'n meddu hawl i'n mawl—Amen.

**637.** *Dydd yn gwawrio...M. N.* 6, 6, 8.

MAE'R dydd yn gwawrio nawr,
'Mhen adeg fèr ei hŷd,
Fe fydd goleuni mawr
Yn llenwi conglau'r byd;
Fe dreiddia sain efengyl gras
Trwy dywyll leoedd daear las.

2 Cenadon hedd o hyd
Sy'n hwylio dros y dòn,
I barthau pella'r byd,
A'r fwyn efengyl hon;
Mae'r gwynt a'r llif o'u tu yn troi,
Mae'r nos o flaen y wawr yn ffoi.

3 Teyrnased Iesu mâd
Dros derfyn môr a thir,
O doed ei deyrnas rad,
A deled cyn bo hir:
Y delwau gau a gwympo i gyd,
Boed Iesu'n Frenin dros y byd.

**638.** *Dysgwyliad y Cristion...M. N.* 6, 6, 8.

NI phery ddim yn hir
Y ddu dymhestlog nos,
Ni threfnwyd oesoedd maith
I neb i gario'r groes:
Mae'r hyfryd wawr, sy'n g'leuo draw,
Yn dweyd fod boreu braf gerllaw.

2 O n'allwn roddi mhwys
Ar dy ardderchog law,
A gado i gystudd ddod,
Oddiyma ac o draw:
A byw tan nawdd y dwyfol waed,
Yn ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad.

3 Mae'm siwrnai yn y blaen,
'Does diwedd ar fy nhaith,
Nes lànio mewn yn lân
I dragwyddoldeb maith:
Yr ochr draw fy nghartref yw
O fewn y wlad lle mae fy Nuw.

**639.** *Hyder y Cristion...M. N.* 6, 6, 8.

FY Iesu yw fy Nuw,
Fy noddfa gadarn gref,
Ni fedd fy enaid gwan
Ddim arall dan y nef:
Mae ef ei hun, a'i angeu drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd.

2 Y gair melysa' erioed,
Y cryfaf air ei rym,
Mi ail adroddaf ef,
Fod Duw yn Briod im':
Mae hyfryd swn a sylwedd hwn
Yn tynu i ffwrdd fy maich a 'mhwn.

3 Ar ei addewid Ef,
Sydd fwy na geiriau dyn,
Er holl gymylau'r nef,
Gorphwysaf yn ddigryn;
Fe'm deil i'r lân, a doed a ddêl,
A ddaeth o'i enau sydd dan sêl.

**640.** *Llusern y gair...M. N.* 6, 6, 8.

EISTEDDAI teithiwr blin
Ar làn yr afon ddu;
A'i lusern yn ei law,
Ddysgleiriai ar y lli':
Yn ngoleu hon fe wel y làn,
Ac engyl fyrdd o gylch y fàn.

2 Wrth ddisgyn at y dŵr,
Hyd risiau brenin braw,
Fe ddeil y lamp o hyd
Yn oleu yn ei law;
Gall teulu'r làn er brig y dòn,
Ei wel'd yn dod wrth lewyrch hon.

3 Adnebydd yn eu plith
Ei Archoffeiriad cu,
Yn dod i làn y dŵr
I dori grym y lli':
Ac â i wlad, lle na raid cael
Byth lusern mwy, na goleu haul.

**641.** *Golwg ar ben y daith...M. N.* 6, 6, 8.

MAE lluoedd maith yn mlaen,
Nawr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maent,
Oll wedi cael y dydd:
I'r làn, i'r làn diangasant hwy,
Yn ol eu traed y sengwn mwy.

2 Gadewn y byd yn ol,
Y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd o hyd
Yn ceisio'n llwfrhau:
Mae hyfryd wlad uwch sêr y nef,
Sydd fil o weithiau'n well nag ef.

3 Cawn lànio i mewn i fysg
Y rhai y clywsom sôn,
Gànasant bawb ei wisg
Yn nwyfol waed yr Oen:
A gwledda'n llon heb ddiwedd mwy,
Yn bur yn eu cwmpeini hwy.

**642.** *Golwg ar y nef...M. N.* 6, 6, 8.

A HEIBIO'R dywell nos,
Fe ffŷ cymylau'r nen;
Fe ddaw'r addewid wir
A'i geiriau pur i ben;
Ceir gwel'd ceir gwel'd yr hyfryd dir,
Ar fyr o dro yn oleu glir.

2 Fe gân 'tifeddion gras,
Yn beraidd maes o law,
Wrth weled boddi'r Aifft,
A hwythau'r ochr draw;
Fy enaid hed i ben y bryn,
I wel'd y goncwest ryfedd hyn.

3 Mae'r ffordd yn awr yn rhydd,
Agorwyd hi o bob tu,
O ddyfnder daear las
I uchder nefoedd fry:
O dring! O dring! fy enaid mwy,
Mae nerth i'w gael mewn marwol glwy'.

**643.** *Sylwedd y Cysgodau...M. N.* 6, 5—1*af.*

TRWY y cysgodau cudd,
'Roedd rhai yn canfod
O bell, â golwg ffydd,
Oen Duw yn dyfod:
Y sylwedd mawr ei ddawn
I dalu perffaith iawn,
A rhoi gollyngdod llawn,
Drwy waed y cymod.

2 A syllu draw o bell
A wnaent yn fynych,
Gan waeddi—Gwlad sydd well
Yr y'm yn chwenych:

Dyeithriaid am eu hoes,
Cyfarchent bob rhyw loes,
A'u cred yn Oen y groes—
Ef oedd eu gwrthrych.

**644.** *Glan yr Iorddonen...M. N.* 6, 5—1*af.*

AR làn'r Iorddonen ddofn,
'Rwy'n oedi'n nychlyd,
Mewn blys myn'd drwy—ac ofn
Ei stormydd enbyd;
O na f'ai modd i mi
Ysgoi ei hymchwydd hi,
A hedfan uwch y lli'
I'r Ganaan hyfryd.

2 Pan gofiwyf rym y dŵr,
A'i thònog genlli',
A'r mynych rymus wr
A suddodd ynddi;
Mae braw drwy f'enaid gwàn,
Mai boddi fydd fy rhàn,
Cyn cyrhaedd tawel làn
Bro y goleuni.

3 Ond pan y gwelaf draw
Ar fynydd Sïon,
Yn iach, heb boen na braw,
Fy hen gyfeillion,—
Paham yr ofnaf mwy?
Y Duw a'u daliodd hwy
A'm dyga inau drwy
Ei dyfroedd dyfnion.

**645.** *Gwaed yr Oen...M. N.* 6, 5—2*il.*

RHYFEDDOL yw rhinwedd
Marwolaeth yr Oen,
O'i glwyfau daw iechyd,
A bywyd o'i boen;

Y meddyg a ddrylliwyd,
Ei ystlys a wanwyd,
A ffynon agorwyd
  Pan frathwyd ei fron
  A'r lem waewffon,
  Ymolchwn yn hon,
Y ffynon agorwyd
  Pan frathwyd ei fron.

2 Er gwaeled ein cyflwr,
  Ein Prynwr mewn pryd
A wnaethpwyd yn felldith,
  Er bendith i'r byd;
Fe yfodd holl waddod
Y gwpan i'r gwaelod;
Boddlonodd y Duwdod,
  A'i gymod a gawn:
  Y ddeddf a ga'dd iawn,
  Fe'i talwyd yn llawn;
Boddlonwyd y Duwdod,
  A'i gymod a gawn.

**646.** *Y Pridwerth...M. N.* 6, 5—*2il.*

YN bridwerth dros ddynion
  Dim digon nid oedd,
Heb dywallt gwaed calon
  Y Gwirion ar g'oedd:
Ond diolch! yn nyfnder
Ei loesion a'i chwerwder,
Llonyddodd gyfiawnder,
  A digter ei Dad:
  Cawn ninau ryddhad,
  A chyflawn iachad;
Llonyddodd gyfiawnder,
  A digter ei Dad.

**647.** *Nadolig Crist...M. N. 6, 4.*

ANGYLION gwyn eu gwawr,
Ryw foreu'n dyrfa fawr,
A ddoent o'r nef;
A chenadwri fad,
Am eni'r pur Fab rhad,
I gaethion gael rhyddhad,
O'i gariad ef.

2 Hwn ydyw Had y Wraig,
Ein cadarn Iôr, a'n Craig,
Fe wrendy'n cri;
Trysorau dwyfol ddawn
Sydd ynddo Ef yn llawn,
Mae'n Briod anwyl iawn,
A Brawd i ni.

**648.** *Bryn Calfaria...M. N. 6, 4.*

IACHAWDWR dynolryw,
Tydi yn unig yw
Fy Mugail da;
Mae angeu'r groes yn llawn
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melys iawn,
Rhai'n a'm iachâ.

2 Arosaf ddydd a nos,
Byth bellach tan dy groes,
I'th wir fwynhau:
Mi wn mai'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
Am càna'i oll yn wyn,
Oddiwrth fy mai.

3 Yn nyfnder dwfr a thân,
Calfaria fydd fy nghân,
Calfaria mwy;

Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhragwyddoldeb yw,
I godi'r meirw'n fyw,
Trwy farwol glwy'.

**649.** *Mawl am Waredwr...M. N.* 6, 4.

I DDUW boed moliant mwy,
Am rinwedd marwol glwy'
Yr Iesu glân:
Boed iddo'r parch a'r clod
Tra fyddo'r byd yn bod,
A seinied pawb ei glod
Yn ddiwahân.

2 Pob bendith, er pob loes,
A geir trwy angeu'r groes
In' îs y rhôd;
Doed pawb trwy'r ddaear faith,
O bob rhyw lwyth ac iaith,
I'w ganmol am ei waith,
Mewn cynes glod.

**650.** *Edifeirwch...M. N.* 6, 4.

TROSEDDAIS ddeddf fy Nuw,
Fy mhechod dirfawr yw
O flaen y nef;
Fy enaid, dos i lawr,
Mewn duwiol dristwch mawr,
Mae gobaith imi'n awr,
Y maddeu Ef.

2 Fy nghalon, caled yw,
O tyred, Ysbryd Duw,
Chwilfriwia hon;
Dwg fi at Grist a'i groes,
I wel'd ei farwol loes;
Dim arall gwn nid oes,
All ddryllio 'mron.

3 Rho olwg ar bob bai
A'm dygo i'w casau,
A'u gado i gyd;
Boed im' mewn duwiol gur
Ddwyn ffrwythau addas pur,
I edifeirwch gwir,
Tra b'wy'n y byd.

**651.** *Erfyn am faddeuant...M. N.* 6, 4.

O ARGLWYDD trugarha,
Er dyfned yw fy mhla,
A 'meiau mawr;
Dilëa rhei'ny'n rhad,
A maddeu yn y gwaed,
A dyro wir iachad
I'm clwyfau'n awr.

2 Golch fi oddiwrth fy mai;
Ti elli fy nglanhau,
A'm cànu'n wyn;
Er dyfned yw fy nghlwy',
Anfeidrol ras sydd fwy,
Mae wedi dyfod trwy
Galfaria fryn.

3 Am hyny trugarha,
O Dduw! a llwyr lanhâ
Fy meiau i gyd,
A golch fi yn y gwaed
Ar Galfari a gaed,
Yr iachawdwriaeth rad,
A'r angeu drud.

4 Cân Haleluia mwy,
Mae Meddyg i dy glwy',
Er dyfned yw;

Mae modd i'th gyfiawnhau,
Mae ffynon i'th lanhau,
Yn nghyd â llwyr iachau
Dy farwol friw.

**652.** *Erfyn am adnewyddiad...M. N.* 6, 4.

O TYRED, Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr
Gawodydd pur;
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn,
O'r anial dir.

2 Mae peraroglau'th ras,
Yn taenu o gylch i maes
Awelon hedd;
Estroniaid sydd yn dod
O'r pellder eitha' 'rioed,
I gwympo wrth dy droed,
A gwel'd dy wedd.

**653.** *Gwrando cri a maddeu...M. N.* 6, 4.

O DDUW, pwy fel tydi
Sy'n gwrando cŵyn a chri,
Gan drugarhau;
A maddeu beiau byth,
A'u claddu, rif y gwlith,
A golchi'n lân ddilyth,
A llwyr iachau.

2 Mwy gwerthfawr i mi yw
Trugaredd rad fy Nuw,
Nâ pherlau'r byd:
Rhydd i mi gymod llawn,
Drwy yr anfeidrol Iawn;
Annhraethol ydyw dawn
Yr angeu drud.

**654.** *Emyn genadol...M. N.* 6, 4.

CYDUNWN Gymry mwyn,
O galon hael ddigwyn,
I wneud ein rhan;
Mae gwaedd y pagan pell
Yn cyrhaedd i bob cell,
Am gael newyddion gwell:
Rhown nawdd i'r gwàn.

2 Digonedd sydd i'w gael,
Am hyny byddwn hael
O'r trysor drud;
Fel bo'r efengyl fâd
Yn seinio trwy bob gwlad,
I luoedd gael gwellhad,
Fu'n cwyno c'yd.

3 Ac yna daear lawr
A fydd fel allor fawr
I'r Iesu gwiw;
Gan bawb yn ddiwahân,
Bydd Haleluia lân,
A'r byd i gyd yn gân
O fawl i Dduw.

**655.** *Llwyddiant Efengyl...M. N.* 6, 4.

AT holl dylwythau'r llawr,
Efengyl hed yn awr,
O fôr hyd fôr;
Paganiaid ddelo'n llu,
Pob math, yn wyn a du,
I foli'r Iesu cu,
Ein Harglwydd Ior.

**656.** *Llwyddiant Efengyl...M. N.* 6, 4.

AM Grist a'i farwol glwy',
Mae sôn yn myned drwy
Ororau maith;

Y mae'r efengyl lân,
Fel pur angerddol dân,
Yn 'hedeg yn y blaen,
I blith pob iaith.

2 Daw'r anial dir fel gardd
Yn llawn rhosynau hardd,
Ardderchog wedd!
Y ddaear a fydd lawn
O bob rhinweddol ddawn,
Ac yn flodeuog iawn
Mewn gras a hedd.

**657.** *Llwyddiant Efengyl...M. N.* 6, 4.

O ANFON, Arglwydd mawr,
Dy Ysbryd Glân i lawr,
Fel nerthol wynt;
I adnewyddu bryd
Dy eiddo oll i gyd,
Ac argyhoeddi'r byd,
'Run modd a chynt.

2 Duw llwydda di dy waith,
Yn mhlith pob llwyth ac iaith,
Hyd eitha'r byd;
Sancteiddier d'enw di,
Dy deyrnas deued hi,
I lenwi'n daear ni,
Ar fyr o bryd.

3 Duw dywed *er dy glod*,
Wrth dir y Gogledd, dod,
Nac attal Dde;
O cyfod di dy law
At y cenedloedd draw,
A myrdd at fyrdd a ddaw,
Mae'th fraich yn gre'.

4 O Arglwydd cofia am
Hiliogaeth Abraham,
A dychwel hwy;
Y gorchudd ymaith tyn,
O'u hanghrediniaeth myn,
Tydi addewaist hyn,
Nac oeda mwy.

5 Duw casgl d'eiddo ynghyd,
O bedair rhan y byd,
I Sïon wiw:
Na foed trwy'r ddaear faith,
Nac ar y moroedd chwaith,
Elynion i dy waith,
Nac iaith na lliw.

**658.** *Ffynon rad...M. N.* 6, 4.

O FFYNON werthfawr rad,
Yr afon fawr o waed,
Ar Galfari;
Dylifa i lawr i'r byd,
A chudd fy meiau i gyd,
Yn nyfnder cariad drud,
Dy haeddiant cu.

2 Yn gwisgo gynau gwyn,
Y gwelir saint am hyn,
Ddydd sy'n nesau:
Caniadau am ei glwy',
Fydd eu caniadau hwy,
A'r rhei'ny *fyddant* mwy
Byth i barhau.

**659.** *Hyder yn yr addewid...M. N.* 6, 4.

CRYFACH addewid Duw,
Na'r pechod gwaetha'i ryw,
Ni saif e' ddim;

'Dyw natur gadarn gref,
Ond dim i dân y nef;
Mae gair o'i enau Ef
Yn fwy ei rym.

2 Yn awr 'rwy'n llawenhau
Mewn gobaith am fwynhau
Y goncwest glir
Ar bechod o bob rhyw,
Gelynion gwaetha'n fyw,
Sy'n rhwystro f'enaid gwiw
I'r sanctaidd dir.

3 Fy meiau mân a mawr,
Sy raid eu cael i lawr,
Cyn byddo hir;
Fe fyn cyfreithiau'r ne'
I dynu'r llygad de,
A thori'r fraich o'i lle,
Ei air sydd wir.

**660.** *Gwawr Jubili...M. N.* 6, 4.

UN olwg ar dy wedd
A'm cwyd i'r lân o'r bedd,
I'r goleu clir;
I deithio yn y blaen,
Drwy ganol dŵr a thân,
Er rhwystrau fawr a mân,
I'r sanctaidd dir.

2 Heb ofni toraf drwy
Elynion fwy na mwy;—
O ddedwydd ddydd!
Mae meddwl am hoff wawr
Yr hyfryd Jubil fawr,
Yn peri imi'n awr
Bron fyn'd yn rhydd.

**661.** *Mawl i'r Iesu...M. N.* 6, 4, 8, 7.

MAE gweddi Brenin nef,
Mewn grym ac effaith gref,
Ger bron y Tad;
Am faddeu'n rhad mae Ef:
Pan oedd E'n gwaedu rhwng y gwyr,
Ei ddwylo a'i draed dan hoelion dur,
Fe lefodd ar Galfaria,
"Dad, maddeu'u beiau'n bur."

2 Clodforwn Frenin hedd,
Fe ddaeth i'r làn o'r bedd,
Ei gwm'ni cawn,
Bydd llawen iawn y wledd:
I dragwyddoldeb maith diri',
Bydd canu am aberth Calfari,
Hosanna, Haleluia!
I'r Gwr sy'n noddfa i ni.

**662.** *Bendithion yr Efengyl...M. N.* 6, 4, 8, 7.

TEG wawriodd arnom ddydd,
A welwyd gynt trwy ffydd,
Gan rai sy'n awr
O'r cystudd mawr yn rhydd:
Ac os oedd dyled arnynt hwy,
Foliannu'r Oen a'i farwol glwy',
Mae'n dyled ni genedloedd
Fil miloedd foli mwy.

2 Gorchfygodd Brenin hedd,
Fyd, uffern, angeu a'r bedd,
Priodi wnaeth
'R hon oedd yn gaeth ei gwedd:
Am hyn crechwena Sïon wàn,
O'th ardal lesg, a thyr'd i'r làn,
Tywysog y tangnefedd,
Da'i rinwedd, yw dy ran.

3 Trwy Grist a'i werthfawr waed,
Y daeth maddeuant rhad
I ddynolryw,
Iachawdwr gwiw a gaed;
Ei fywyd pur a'i angeu loes,
A'i ddyoddefaint ar y groes,
A ddygo fy serchiadau
Tra par'o dyddiau f'oes.

**663.** *Goludoedd gras...M. N.* 6, 4, 8, 7.

DAETH Iesu'r Sylwedd mawr
O'i uchel lŷs i lawr;
Anfeidrol stôr
Sy'n agor ganddo'n awr:
O deuwch blant y newyn du,
I chwi mae rhad wahoddiad hy',
Gadewch y cibau gweigion,
Mae digon yn ei dŷ.

2 Er pechu'n erbyn Duw,
Llawn o drugaredd yw,
Pan godom gri,
Mewn c'ledi fe a'n clyw;
Moliannwn yr anfeidrol Fod,
Am bob daioni sydd yn dod,
Doed dynion i'w ryfeddu,
Mae yn rhyglyddu'r clod.

3 Dyrchafwn heddyw lef
Yn daer at orsedd nef,
Am fendith lawn,
O'i drysor eurlawn ef;
Mae ynddo ras fel môr didrai,
I lenwi diffyg y fath rai;
O'i rwyddaf drugareddau,
Fe biau faddeu bai.

**664.** *Cristo yn oll...M. N.* , 4, 8, 7.

O DAN d'adenydd di,
Mae llaeth a mêl yn lli'
  Yn llenwi i'r llawr,
Yn afon fawr i ni;
I faethu gweiniaid fyth yn gu,
A maddeu o'r bron elynion lu,
  Mae hyfryd frenin Sïon,
Oen tirion fyth o'n tu.

2 Fy unig noddfa'n awr,
I'm lloni ar y llawr,
  A'm gwir iachâu,
Yw clwyfau'r Meichiai mawr;
Caf yno lechu'n dawel lân,
Yn Iesu cu, a seinio cân,
  Pan syrthio'r sêr yn gawod,
A dyfod diluw o dân.

3 Mae ffynon loyw lawn,
Yn ffrydio o ddwyfol ddawn,
  Yn awr i ni,
Ein golchi ynddi a gawn;
Mae yn y nef ryw dorf yn awr,
A gànwyd ynddi fel y wawr,
  A miloedd yn cael trwyddi
Eu lloni ar y llawr.

**665.** *Adgyfodiad Crist...M. N.* 6, 4, 8. 7

'NOL marw'n T'wysog mawr,
Fe'i rhow'd mewn daear lawr,
  Ond codi wnaeth,
I'r làn daeth gyda'r wawr;
A'r agoriadau gydag E',
Heb weled llygredd yn y lle,
  Yn awr y mae mewn mawredd
Yn nghanol gorsedd ne'.

2 Yn gryf fe ddaeth o'r graig;
Er cymaint llid y ddraig
Ac angeu cas,
I maes daeth Had y wraig;
Yn awr fe a deyrnasa'n rhydd,
Fy ofn a ffôdd, rhodd imi ffydd,
A gwnaeth, do, gysgod angeu
Yn hyfryd foreu ddydd.

3 Yn awr yn fyw mae Ef,
Ar orsedd nef y nef,
Yn Frenin gras,
Mae iddo deyrnas gref;
Hi saif yn gadarn a digryd,
Pan ferwo'r môr, pan losgo'r byd,
Er cwrdd ag aml rwystrau,
Ymlaen'r â hon o hyd.

**666.** *Galwad yr Efengyl...M. N.* 6, 4, , 7.

WEL, dewch o fawr i fân,
Cyn delo'r diluw tân,
I'r Arch mewn pryd,
Fe lysg y byd yn lân;
O ddinas dystryw brysiwch ffowch,
Ar y gwastadedd nac ymdrowch;
I sanctaidd fynydd Sïon,
O ddynion, pa'm na ddowch?

2 Awn ninau wrth y ŵys,
A rhedwn oll ar frys
At wledd Duw Naf,
O fewn ei lawnaf lŷs:
Gadawn, gadawn y cibau câs,
I gael mwynhau a phrofi blâs
Y pasgedigion breision,
Da roddion Duw a'i ras.

**667.** *Udgorn Jubili...M. N.* 6, 4, 8, 7.

MAE udgorn Jubili,
Am haeddiant Calfari,
Yn seinio'n llon
Y n'wyddion goreu i ni:
Gwir lawenhâ fy enaid prudd,
Enillodd Iesu mawr y dydd,
Daw carcharorion angeu
O'u rhwymau oll yn rhydd.

2 Yn nyfnder pob rhyw loes,
A gorthrymderau f'oes,
Fy noddfa a'm nerth
Yw'r aberth fu ar y groes:
Rhinweddol haeddiant marwol glwy',
Yw 'nghysur yn y byd tra bwy',
A'm hunig ddigonoldeb,
I dragwyddoldeb mwy.

**668.** *Gwynfyd y nef...M. N.* 6, 4, 8, 7.

GWYNFYD y rhai sy heb fraw,
O fewn i'r Ganaan draw,
Yn canu heb glwy',
Gelynion mwy ni ddaw:
Ond yn eu llaw-bydd palmwydd hardd,
Llawenydd mwy trwy'r wlad a dardd,
Rhad rodd y cyfiawn Iesu,
Fu'n chwysu yn yr ardd.

2 Daw'r saint i dir eu gwlad,
Hwy sathrant tan eu traed
Elynion lu;
Cânt dd'od i dŷ eu Tad:
Ni chaiff gelynion fawr na mân
Eu blino mwy yn Salem lân;
'Nol myn'd i dir y bywyd,
Tra hyfryd fydd eu cân.

**669.** *Fel Oen i'r lladdfa...M. N.* 6, 4, 6.

GOGWYDDODD Crist ei ben
Ar bren y groes;
Fel Oen arweiniwyd Ef
I ddyoddef loes;
Gorphenodd yno'r gwaith
O brynedigaeth dyn;
Am hyn mae nef a llawr
Yn awr yn un.

2 Boed i mi gael mwynhau
Hyd angeu du,
O'i iechydwriaeth rad,
A'i gariad cu:
Can's dyma hyfryd win
O beraidd rîn a blas
Maddeuant pur a hedd—
O ryfedd ras!

**670.** *Rhyfedd ras...M. N.* 6, 4, 6.

DAETH ffrydiau melus iawn,
Yn llawn fel lli',
O ffrwyth yr arfaeth fawr,
Yn awr i ni:
Hen iechydwriaeth glir
Aeth dros y crindir cras:
Bendithion amod hedd:
O ryfedd ras!

2 Fe gymerth Iesu pur
Ein natur ni:
Enillodd Ef i'w saint
Bob braint a bri:
Gadawai'r nef o'i fodd,
Fe gym'rodd agwedd gwas:
Ffrwyth y cyfamod hedd:
O ryfedd ras!

3 Wrth orphwys ar yr Iawn,
Ni gawn i gyd,
Felysion ffrwythau'r groes,
Drwy'n hoes o hyd:
Mae yma hyfryd win,
I flin o beraidd flas;
Maddeuant pur a hedd:
O ryfedd ras!

4 Caed balm o archoll ddofn
Y bicell fain;
Yn rawnwin ar y groes,
Fe droes y drain:
Dechreuwn fawl cyn hir,
Na flinir ar ei flas,
Am Iesu'r aberth hedd:
O ryfedd ras!

**671.** *Rhyfedd ras...M. N.* 6, 4, 6.

FE gymerth Iesu blaid
Trueiniaid trist;
Ysigodd ben y ddraig,
Ein Craig yw Crist;
Cawn ninau fod yn bur,
Uwch cur a phechod cas,
Yn berffaith ar ei wedd;
O ryfedd ras!

2 Boed clod i'n Prynwr rhad,
Ein Ceidwad cu,
Fe holltodd Ef yr hen
Iorddonen ddu:
Gorchfygodd angeu cryf,
Er awch ei gleddyf glas,
A drylliodd rwymau'r bedd,—
O ryfedd ras!

3 Crist yw ein cadarn dwr,
Gwaredwr yw;
Dan gysgod tawel hwn
Y byddwn byw:
Fe arwain ei holl saint,
Er cymaint llid eu cas,
I mewn i'r nefol wledd,—
O ryfedd ras!

**672.** *Angeu'r Saint...M. N.* 6, 4, 6.

PA beth yw angeu i'r saint?
Rhagorfraint yw;
Gwna'u tynu fyny'n fwyn,
A'u dwyn at Dduw:
Yn Iesu huno wnânt
Ac ant i wynfyd cu,
I blith nefolaidd ryw,
Sydd lonwiw lu.

2 Nac wylwn mwy ar ol
Y duwiol rai;
Maent gyda Duw a'r Oen,
Heb boen na bai:
Uwchlaw gofidiau'r byd,
Y maent i gyd ar gael;
Mwynhant dragwyddol wledd,
Mewn hedd yn hael.

3 O Gristion, er dy bla,
Nac ofna di
Rhag angeu llym; pan ddêl
Gwêl Galfari;
Dy Iesu ar y groes
A droes ei niwed draw;
I'th ddwyn drwy'r glyn yn glau,
E'n ddïau ddaw.

**673.** *Gorchfygu angeu...M. N.* 6, 4, 6.

NID allodd angeu du
  Ddal Iesu'n gaeth
Ddim hwy na'r trydydd dydd,
  Yn rhydd y daeth;
Ni ddelir un o'i blant,
Er myn'd i bant y bedd,
Fe'u gwelir ger ei fron,
  Yn llon eu gwedd.

2 Wrth wel'd yr angeu du
  Yn nesu'n awr,
'Rwy'n ofni ambell dro,
  Wrth gofio'r awr;
Pan gwelwy'r gwaith trwy ffydd,
Y trydydd dydd wnaeth Duw,
Mae 'ngobaith yn fwy cry',
  'Do i fyny'n fyw.

3 Er pydru'n ngwaelod bedd,
  Yn farwaidd fud,
Daw'r Iesu i'm codi'n llon,
  Ger bron ryw bryd;
A'm llygaid inau a'i gwel,
Mae'r gair dan sêl yn wir,
A newydd ddedwydd ddydd,
  Boreuddydd clir.

4 Pan bu fy Arglwydd mawr
  Yn llawr y bedd,
Cynesodd wely i mi,
  Rhag oeri'm gwedd:
Yn rhydd ryw ddydd a ddaw,
Rho'wch fi a'ch llaw'n 'run lle,
'Rwy'n caru er yn wan,
  Y fan bu 'fe.

**674.** *Byrdra'r daith...M. N.* 6, 4, 6.

NI phery'r anial maith,
  Na'm taith yn hir:
Caf fyned yn y màn
  I'r Ganaan dir:
Fe geidw Iesu'i saint,
Er cymaint llid eu cas,
Fe goncra'r gelyn llym,
  Drwy rym ei ras.

2 Ceir canu cyn bo hir
  Yn glir ei glod;
Rhyfeddu ei gariad fydd
  Y dydd sy'n dod;
Adseinir "Iddo Ef,"
Yn llon gan nefol lu,
Datganant rinwedd gwaed
  Eu Ceidwad cu.

**675.** *Cofio taith yr anial...M. N.* 6, 4, 6.

WRTH gofio teithiau dydd
  Y cystudd mawr,
A chroesau'r anial dir
  Yn wir, yn awr,
Enyna'r seintiau gân
Yn anian bur y nef;
A'r gân i gyd a fydd
  Byth iddo Ef.

2 Bydd llu y nefol fro
  Yn cofio'r Iawn,
Gan eilio'r gân o hyd
  Mewn gwynfyd llawn;
Mwyn fydd eu cân i gyd,
Am gael mewn byd o boen,
Hedd a maddeuant rhad
  Drwy waed yr Oen.

**676.** *Mawl am brynedigaeth...M. N.* 5, 11.

FY Iesu gaiff byth
Y clod yn ddilyth
Trwy'r ddaear a'r nef;
Fe roes ei hun trosof, fy mywyd yw Ef.

2 Etifedd y ne'
Fu farw'n fy lle,
A minau ge's fyw;
Boed mawl i fy Mhrynwr, Gwaredwr gwir yw.

3 Fy ngwared a wnaeth
O'r carchar du caeth,
Trwy ddyfnder ei boen;
Gogoniant tragwyddol i Dduw ac i'r Oen.

**677.** *Ymnerthu yn Nuw...M. N.* 5, 11.

YMNERTHWN yn Nuw
Tra byddwn ni byw
Mewn byd dan y rhod;
A'n hymdrech beunyddiol fo byw er ei glod.

2 Mae'r nos yn nesau,
A'n heinioes yn frau,
Nid isod mae'n lle:
Trwy 'mynedd O rhedwn yr yrfa i'r ne'.

3 Ymdrechwn trwy ffydd,
Tra dalio ein dydd,
I ymbarotoi,
Gan bara yn ufudd, i'r nefoedd i ffoi.

4 Ein llestri fo'n lân,
A'n lampau'n llawn tân,
Gan ddysgwyl y dydd
Yr awn o'n cadwynau a'n rhwymau yn rhydd.

5 Diangwn i'w gol,
Na foed neb yn ol,
Can's eto mae lle
Yn mynwes ein Harglwydd, Penllywydd y ne'.

6 Efengyl Mab Duw,
Newyddion da yw
I bawb sydd yn bod
Tu yma'r gagendor, yn rhydd dan y rhod.

**678.** *Ceidwad digonol...M. N.* 5, 8.

POB seraph, pob sant,
Henafgwyr a phlant,
Gogoniant a ddodant i Dduw,
Fel tyrfa gytun,
Yn beraidd bob un,
Am Geidwad o forwyn yn fyw.

2 Efe yw fy hedd,
Fy aberth a'm gwledd,
A'm sail am drugaredd i gyd;
Ein cysgod a'n cân,
Mewn dŵr ac mewn tân,
Gwnaed uffern ei hamcan o hyd.

3 Yn Babell y bydd,
Rhag poethder y dydd,
A chedyrn lifogydd y fall;
Mewn cysgod mor dda,
Holl uffern a'i phla,
Er chwenych, ein difa nid all.

**679.** *Trysor yr Iawn...M. N.* 5, 8.

DIM trysor nis cair
Mewn perlau nac aur,
Er chwilio hyd derfyn ein dydd,
A bwysa dy hedd,
Tu yma i'r bedd,—
Heb goffa'r llawenydd a fydd.

2 Trysorau mor glir,
Nis gwelwn yn wir,
I randir yr India pe'r awn;
Pur aur o Peru,
Cyffelyb nid yw,
I heddwch fy Nuw yn yr Iawn.

**680.** *Trysor Calfaria...M. N.* 5, 8.

AR Galfari fryn,
Rhyfeddwn am hyn,
Caed trysor, am dano bydd sôn;
Mae'n drysor mor ddrud,
Mae'n ddigon i'r byd,
O diolch am gariad yr Ion.

2 Mae trysor sydd fwy
I'w gael yn ei glwy',
Nâ'r ddaear a'i gwychder i gyd;
A phrofiad o'i hedd
Sydd fwy nag a fedd
Holl fawredd a bonedd y byd.

**681.** *Ffynon Calfaria...M. N.* 5, 8.

AR Galfari fryn,
Agorwyd cyn hyn
Ryw ffynon ryfeddol ei rhin;
A hollol lanhâ
Bob llygredd a phlâ,
A chàna y dua' yn wyn.

2 Y gwàn mae'n gryfhau
Er cymaint ei fai,
I sefyll wrth Sinai'n ddigryn;
Mae'n symud â'i hedd
Rym angeu a'r bedd,
A'u hofnau heb adael yr un.

**682.** *Yr Efengyl...M. N.* 5, 8.

MOR hawddgar yw gwedd
Cenadon yr hedd,
Gyhoeddant yn rhyfedd mor rhad
Drysorau rhad ras,
A thaenant i ma's
Efengyl y deyrnas i'r wlad.

2 Pwy newydd sydd well
I agos a phell,
Trwy'r cymod mae cymell mawr iawn,
I wleddoedd rhad ras,
Nefolaidd eu blas,
Efengyl y deyrnas a'i dawn?

3 I'r dyfroedd, O dewch,
Cewch ddigon byth, cewch,
Am hyn llawenhewch yn dra llon,
Mae'r ffynon o hyd
Yn ddigon i'r byd,
Efengyl y bywyd yw hon.

**683.** *Udgorn yr Efengyl...M. N.* 5, 8.

EFENGYL yr Oen,
Am dani bydd sôn
Trwy'r bröydd a'r bryniau o'r bron;
Hen Jerico fawr
Yn llwyr ddaw i'r llawr,
Mae'r udgyrn yn bloeddio wrth hon.

2 Dyoddefaint ei groes,
Ei boenau a'i loes,
Wnaeth heddwch rhwng nefoedd a llawr:
Y ffordd at y Tad
Agorwyd â gwaed,
Am dani bydd canu bob awr.

**684.** *"Merch yr Amoriad."..M. N.* 5, 8.

AR groesbren brydnawn,
Cyfiawnder ga'dd Iawn,
A'r gyfraith anrhydedd 'run dydd;
Trwy rinwedd y gwaed
Boddlonwyd y Tad,
Daw merch yr Amoriad yn rhydd.

2 Anfeidrol yw'r fraint
Ddarparwyd i'r saint,
Trwy'r Duwdod a'r Dyndod yn un;
Brawd ffyddlon a gaed,
Rhodd drosom ei waed,
O'i fodd daeth yn Geidwad i ddyn.

**685.** *Gogoniant Sion...M. N.* 5, 8.

MERCH Sïon ryw ddydd
Mwy hawddgar a fydd
Ei thegwch na thoriad y wawr;
A'i gwisg yn fwy hardd
Nag Adda'n yr ardd,
Fe fydd ei gogoniant yn fawr.

2 Mor rhyfedd yw'r fraint
A roddwyd i'r saint,
Cael bod yn ddyweddi i'r Oen,
Fe'i purir ar fyr
Mewn olew a myrr;
Am dani mawr iawn fydd y sôn.

3 Yn wir fe fydd hon
Yn dawel a llon
Mewn mantell cyfiawnder yn byw;
Yn eistedd i lawr
Ar orsedd wen fawr,
Ar gyfer ei Brenin a'i Duw.

**686.** *Cafwyd y Ceidwad...M. N. 5, 7, 9.*

CAFWYD addewid
O Geidwad i wael ddynolryw:
O mor wael oedd 'Tifedd nef,
Pan y daeth i Fethl'em dref,
Nid oedd le iddo gael gyda'i ryw!

2 Ond er ei waeledd
Yr ydoedd ar fydoedd yn Ben:
Daeth gwŷr doeth o'r Dwyrain draw,
Aur a thus oedd yn eu llaw,
I anrhegu Tywysog y nen.

3 Dyma'r gwir Feddyg;
O! 'r llu dan ei law fu erioed!
Eu gwellhau yn llwyr a wnaeth,
Gan ryddhau y rhai oedd gaeth,
O! y gwyrthiau wnaeth ef wedi d'od!

**687.** *Adgyfodiad Crist...M. N. 5, 7, 9.*

WELE cyfododd,
Yr Arglwydd gyfododd yn wir,
Do, er gwaetha'r maen a'r bedd,
Adgyfododd Brenin hedd,
Mewn awdurdod o'i allu ei hun.

2 Llon ymddangosodd
I'w anwyl ddysgyblion yn wir;
"Mwy nac ofnwch, myfi yw,
A fu'm farw, ac wyf fyw,
Mi orchfygais yr angeu fy hun."

3 Hefyd esgynodd,
Dyrchafodd mewn cwmwl i'r nef;
Ar ddeheulaw'r Tad yn awr,
Eistedd mae ar orsedd fawr,
Mewn anrhydedd a mawredd mae Ef.

**688.** *Eiriolaeth Crist...M. N.* 5, 7, 9.

DROSOM yn eiriol
Mae Iesu, drwy rinwedd ei waed,
"Dros bechodau pawb o'r byd
Aethum dan y ddwyfol lid,
Os dychwelant—O maddeu, fy Nhad."

2 "Er mwyn yr Aberth
Roddaist dros holl ddynolryw,
Mi wrandawaf ar eu cŵyn,
Mi faddeuaf er dy fwyn,
Mewn tragwyddol ddedwyddwch cânt fyw."

3 Yna cawn wledda,
Gwledda dros byth uwch y nen,
Cawn ddywedyd, "Iddo fe,
'R hwn fu farw yn ein lle,
Bo'r gogoniant a'r gallu, Amen."

**689.** *Meichiau yn dyoddef...M. N.* 5, 7, 9.

A WELSOCH chwi Ef,
'R hwn hoffa fy enaid—a'm Duw?
Dros droseddwyr fel myfi,
Rhoes ei hun ar Galfari,
Trwy gyfiawnder fy Meichiau caf fyw.

2 Hoeliwyd yr Aberth,
Iesu'r addfwynaf oedd fud;
'Rhwn sy'n taenu'r nef fel llen
Ar y groes ogwyddai'i ben,
I wneud cymod dros bechod y byd.

3 Dacw fy Meichiai!
Difai yw offrwm ein Pen;
Arno Ef y rhoed fy nrwg,
Ac aeth dan y Dwyfol ŵg,
Dug fy nghosp yn ei gorph ar y pren.

**690.** *Genedigaeth y Messia...M. N. 5, 7, 9.*

DAETH y Messia,
Iesu, Gwaredwr y byd;
Cafwyd y tragwyddol Air,
Yn y preseb, gyda Mair,
Ac addolodd angylion i gyd.

2 Teithiodd y doethion,
I weled Ceidwad mewn cnawd,
Pan y gwelsant Frenin nef,
Offrymasant iddo Ef;
O'u trysorau anrhegion a wnawd.

**691.** *Peroriaeth angylion...M. N. 5, 7, 9.*

BETH yw'r beroriaeth
Glywir yn entrych y nen?
Myrdd myrddiynau maith a mwy
O angylion ydynt hwy
Sydd yn seinio Hosana uwch ben,

**692.** *Cyflawnder Crist...M. N. 5, 6—1af.*

TRWY'R byd y bo sôn
Am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu mai teilwng yw'r Oen.

2 Rhyfeddod y byd
Yw angeu mor ddrud,
A gwreiddyn caniadau'r ffyddloniaid i gyd.

3 Af bellach yn hy'
Tua'r Ganaan sy fry,
Mi wela'r addewid yn gadarn o'm tu.

**693.** *Canmol yr Iesu...M. N. 5, 6—1af.*

FY enaid i sydd
Yn awr nos a dydd,
Am ganmol fy Iesu a'm rhoddodd yn rhydd.

2 Fe'm cododd i'r làn,
Pan oeddwn yn wàn,
Amlygodd f'Anwylyd fy rhyddid a'm rhan.

3 Fe roes i mi faeth
O win ac o laeth,
O'r pydew fe'm cododd, yn gadarn fe'm gwnaeth.

**694.** *Porfa fras...M. N.* 5, 6—1*af.*

FY enaid, na thaw,
Er poenau na braw,
A chanmol yr Iesu, a deued a ddaw.

2 Fe'm tywys trwy ras,
Er dichell fy nghâs,
A gwna i mi orwedd mewn porfa sydd fras.

3 Arlwya im' wledd
Yn wyneb y bedd,
Ac yfed gaf hefyd o afon ei hedd.

**695.** *Trysor y nefoedd...M. N.* 5, 6—1*af.*

FFARWEL f'o i'r byd,
A'i bleser i gyd,
Ar drysor y nefoedd fe redodd fy mryd.

2 O haeddiant y gwaed,
Anfeidrol barhad,
'Does arall all osod fy meiau dan draed.

3 Mi wela'n ei glwy'
Gyfiawnder sydd fwy
Na meithder y moroedd, er lleted ynt hwy.

**696.** *Ffydd yn werthfawr...M. N.* 5, 6—2*il.*

'RWY'N gweled bob dydd,
Mai gwerthfawr yw ffydd,
Pan elwy'i borth angeu, fy angor i fydd:
Mwy gwerthfawr im' yw
Na chyfoeth Peru,
A'i gwrthrych a'm cynal ddydd dial ein Duw.

2 Y cysur i gyd,
Sy'n llanw fy mryd,
Fod genyf drysorau, uwch gwybod y byd:
Ac er bod hwy 'nghudd,
Nas gwel hwynt ond ffydd,
Ceir eglur ddatguddiad o honynt, ryw ddydd.

**697.** *Rhinweddau'r gwaed...M. N.* 5, 6—*2il.*

RHYW afon a gaed
O ddwfr ac o waed,
O'r orsedd ddysgleir-deg mae'n rhedeg yn rhad,
I wella fy mriw,
Fy meiau bob rhyw,
A chànu fy enaid er dued ei liw.

2 Boed yma fy nyth,
A'm bywyd i byth,
Yn nghlwyfau'r Oen tyner, a'i lawnder dilyth;
Ac yma caf fyw,
Er croesau bob rhyw,
A'm henaid yn llawen dan aden fy Nuw.

3 Af bellach yn mlaen,
Trwy ddwfr a thrwy dân;
Er cymaint fy nyled, fe'i talwyd yn lân:
Moliannu mwy fydd
Fy mhleser bob dydd;
'Nol agor y carchar pwy all fod yn brudd?

**698.** *Gorphenwyd...M. N.* 5, 6—*2il.*

GORPHENWYD, medd Crist,
A'i enaid yn drist:
Gorphenwyd, gorphenwyd, mae'r nefoedd yn [dyst:
Ei fywyd o'i fodd
Yn aberth a rodd,
Wrth feddwl am hyny pa galon na thodd?

2 Fe gofir y gwaed
Rhinweddol a gaed,
A chymod i'r gelyn a roddir yn rhad;
Daw hefyd yn lli'
Faddeuant i ni,
Drwy rinwedd yr Aberth, ar fryn Calfari.

**699.** *Mawl i Dduw...M. N.* 5, 6—*3ydd.*

TRUGAREDD ein Duw
Fo testun ein moliant,
Nawr rhoddwn pob rhyw
Ar gân ei ogoniant:
Er ini hir bechu,
Heb haeddu mo'i heddwch:
Mae'i alwad yn dirion,—
Dewch, waelion, dychwelwch:
Hosanna i'r Duw cu,
Mor hir ei amynedd;
Da'i 'wyllys i ni,
A llawn o drugaredd.

2 Dyrchafwn ein llef
Mewn uchel glodforedd,
Cydseiniwn hyd nef
Ei gyfiawn ogonedd;
Mae ini lawn achos
I gydlawenychu,
Pob tafod ac enaid
Fo'n dyfod i foli:
Hosanna, &c.

3 Ein Llywydd, clyw'n llef,
Dod ysbryd moliannu,
A chwyth awel gref,
Nes bo'm yn hyfrydu;
Dod brawf o sirioldeb
Dy wyneb daionus,—

Ni ganwn ogoniant,
A moliant mwy melus:
Hosanna, &c.

**700.** *Mawl i'r Drindod...M. N.* 5, 6—*3ydd.*

DAW'R caethion ryw ddydd
Yn rhydd o'u cadwynau,
A'r rhai sydd yn brudd,
I seinio caniadau;
O brysied y bore
Caf finau fy nhelyn,
I ganmol fy Arglwydd,
Blith draphlith â'r fyddin;
Ac edrych i mewn
I drefn y cymod,
A gweled yr Oen,
A'i foli heb ddarfod.

2 Gogoniant i'r Tad
Fyth fythol am garu,
Gogoniant i'r Mab
Fyth fythol am brynu;
Gogoniant un wedd
I'r Ysbryd Glân hefyd,
Am dywys mewn hedd
I lwybr y bywyd:
I'r Drindod yn un
Bo parch a mawrhydi;
O deuwch ar g'oedd,
Yn filoedd i foli.

**701.** *Y Milflwyddiant...M. N.* 5, 6—*3ydd.*

MERCH Sïon, bydd lon,
Dy Dduw sy'n teyrnasu,
Daw'r ddaear ger bron
Dy Frenin i blygu;

Fe droir y cleddyfau,
  A'r gwaewffyn hefyd,
Hen arfau dinystriol,
  Yn arfau mwy hyfryd;
Mae amser gerllaw
  Caiff Satan ei rwymo,
Byd newydd a ddaw,
  Cyfiawnder geir ynddo.

2 Mae'r amser yn dod,
  Y derfydd pob adfyd,
Ni welwyd erioed
  Amseroedd mor hyfryd;
Cyfiawnder fel afon
  A heddwch fel tònau,
Dros diroedd a moroedd,
  Y bröydd a'r bryniau;
Mae'r amser gerllaw
  Caiff Satan ei g'lymu,
Byd newydd a ddaw,
  I'r saint gael teyrnasu.

**702.** *Adgyfodiad y meirw...M. N.* 5, 6—*3ydd.*

SWN hyfryd y sydd
  Fod rhyddid i'r caethion,
Fe wawriodd y dydd
  I'w gollwng yn rhyddion;
I'r rhai sydd mewn dyled
  A'r rhai sydd yn ngharchar,
Mae Jubil yn dyfod,
  Fe dderfydd eu galar:
O hyfryd fydd sŵn
  Yr udgorn diwedda',
Yn galw'r holl saint
  O'u tywyll garchara'.

2 Mae'n Harglwydd gerllaw,
Wel, trwsiwn ein lampau,
Yn fuan fe ddaw,
Gwregyswn ein lwynau;
Ar frys mae yn dyfod,
Addawodd ef ini,
Olwynion ei gerbyd
Nid ydynt yn oedi:
O hyfryd fydd sŵn, &c.

3 Yr udgorn a gân,
A'r meirw gyfodir
Heb lygredd yn lân
A ninau newidir;
Fe g'od y llygradwy,
Mewn anllygredigaeth,
A gwisgoedd anfarwol
O garchar marwolaeth:
O hyfryd fydd sŵn &c.

4 Dygasom yn wir
Y ddelw ddaearol,
Cawn ddwyn cyn bo hir
Y ddelw hardd nefol;
A rhodiwn mewn gwisgoedd
Y rhai ni heneiddiant,
A'n cyrff yn ysbrydol
Yn nghanol gogoniant;
O hyfryd fydd sŵn &c.

**703.** *Tragwyddol gartref...M. N.* 5, 6—*3ydd.*

'RWY'N brysio bob dydd
Tua therfyn fy ngyrfa,
Ar fyr yn y pridd
Y bydd fy ngorphwysfa;
Ergydion beunyddiol
Sydd yn fy malurio,

Mae'm pabell ar ogwydd,
Yn ebrwydd gwna syrthio;
I'r tragwyddol-fyd
Mae tynfa fy enaid,
Nid oes yn awr angeu
A'm deil ond duwioldeb.

2 Blynyddoedd fy oes
Yn gyflym sy'n darfod
Bob dydd a phob nos
'Rwy'n brysio tua'r beddrod;
Beth ydyw fy amser,
O'i fesur, ond dyrnfedd?
Beth ydyw fy einioes
Ond cysgod a gwagedd?
I'r tragwyddol-fyd &c.

3 Wrth edrych yn ol,
A chanfod fy llwybrau,
'Rwy'n gweled mai ffôl
Y treuliais fy nyddiau:
Y pethau sy'n darfod
Ga'dd ormod o'm sylw;
Pa les a wnant imi
Pan ddelwyf i farw?
I'r tragwyddol-fyd &c.

**704.** *Teitlau Crist...M. N. 9au.*

CRIST yw'r Tywysog enwog, union,
A Bugail 'r eglwys mewn peryglon;
Tŵr iachus, cadarn i'w chysgodi;
Mae'n Graig, a Chell, rhag ei harcholli.

2 Gwir Fab y Tad, mawrhâd anrhydedd,
Yn Fab Mair hefyd, O mor rhyfedd!
Arweinydd, Llywydd, Hollalluog,
Mab Duw, Mab dyn, yn un Eneiniog.

3 Mab Duw, yn gydradd â'r blaid uchaf,
Mab dyn, yn D'wysog i'r blaid isaf,
Un mor gyfiawned a'r Gofynwr,
Un fu mor dlawd a mi'r dyledwr.

4 Gall godi ei law, ein cadarn Lywydd,
A thyngu, "Byddaf byw'n dragywydd;"
A gwych gyhoeddi'n uchel heddyw,
"Wyf Fab y Forwyn a fûm farw."

**705.** *Duw oll yn oll...M. N.* 10*au.*

FY Nuw, fy Ior, fy Mhriod, a fy Nhad,
Fy ngobaith oll, fy iechydwriaeth rad;
Mewn cyfyng awr ti fuost nawdd i mi,
Gad eto im' fwynhau dy gwmni di.

2 Ond cael dy wedd, a rhîn dy farwol glwy',
A phrofi'th hedd, nid ofnaf bellach mwy;
Mae'th wenau di fil myrdd o weithiau'n well,
Na'r trysor llawn sydd yn yr India bell.

**706.** *Rhagoroldeb Duw...M. N.* 10*au.*

YSBRYD yw Duw, anfeidrol, byw diball;
Mewn gras, mewn grym, ei wneud 'does dim nad all;
Gall wneuthur dyn sydd iddo'n elyn oll,
Yn blentyn byw, i garu Duw'n ddigoll.

2 Duw, cariad oedd—cyn nefoedd, ac yn awr;
Duw, cariad yw—i ninau'n byw bob awr;
Duw, cariad fydd, Penllywydd mawr pob lle;
Mewn gras, mewn grym, 'does dim a'i newid e'.

**707.** *Dymunoldeb Iesu...M. N.* 10*au.*

O IESU cu, gad im' i'th fynwes ffoi,
O'r tònau sy' o'm hamgylch yn crynhoi;
O cuddia 'mhen dan nawdd dy aden lòn,
Nes heibio'r â y storom erwin hon.

2 Gwn nad oes neb all gadw 'mywyd i,
Mewn 'stormydd dig, yn unig ond tydi:
Fy unig hedd yn nghanol fy holl wae,
A'm gobaith yw, fod cariad Duw'n parhau.

3 O Iesu gwiw, hyfrydwch nefol lu,
Mor bêr i'r glust yw sain dy enw cu!
I'r genau mae fel mêl yn felus bur,
Ac fel y gwin i'r galon dan ei chur.

4 Am danat ti yn fynych mae fy nghwyn:
Pa bryd y caf dy lòn ymweliad mwyn?
Pa bryd y gwnei fi'n llawen â dy wedd,
Pa bryd y caf fy llenwi â dy hedd?

**708.** *Hawddgarwch Crist...M. N.* 10*au.*

FY Ngheidwad hael, y wir winwydden yw,
Ffrwythloni wna, ei holl ganghenau byw;
O hono ef derbyniant oll bob un,
O'r nefol nodd sydd ynddo ef ei hun.

2 Ar dir na môr, ei debyg gwn nad oes,
Seraphiaid pur ni thraethant byth ei oes;
Dringo a wnaf trwy nerth ei ras o'm gwae,
Nes caffwy'n glir ei weled fel y mae.

3 Darfydded sôn am haeddiant dyn a'i rym,
Fe dawdd yn llwyr o flaen cyfiawnder llym:
Y'nghlwyfau'r Oen'r ymffrostia f'enaid tlawd,
Daeth trefn y nef, a Iesu imi'n Frawd.

**709.** *"Pwy ydyw hwn?..M. N.* 10*au.*

PWY ydyw hwn sy'n d'od o Edom dir?
Ymdeithio mae mewn grymus wedd yn wir:
Mae'n goch ei wisg, gorchfygodd ar y pren,
Gorchfygu wna hyd eitha'r byd, Amen.

2 Gorchfygodd fyd ac uffern oll a'r bedd,
Gan iawnder Nef, a'i ddeddf, fe 'nillodd hedd;
Fe sathrodd lu, do, luoedd maith hyd lawr,
Mae'n hardd ei wedd ar ol ei frwydr fawr.

3 Ei hun aeth tan y llafur dirfawr, dwys;
Ei hun fe wnaeth y gorchwyl mawr ei bwys;
Ei hun, heb ail, ca'dd luoedd dan ei draed;
Taenellu wnaeth ei wisg ei hun â'u gwaed.

**710.** *Sylwedd yr Arch...M. N.* 10*au.*

AGORWYD teml yr Arglwydd yn y nef,
A gwelwyd arch ei lân gyfamod Ef;
Holl ryfeddodau person Crist a'i waith,
A welir yno i dragwyddoldeb maith.

2 Cyfiawnder Duw sydd yno'n ddysglaer iawn,
A'r gyfraith bur bob iot o honi'n llawn;
Ond i bechadur melys yw y sain,
Fod trugareddfa hefyd rhwng y rhai'n.

3 Y tanllyd gledd fu'n effro iawn cyn hyn,
Taranau a mellt ofnadwy Sinai fryn
Sy'n awr yn dawel yn yr Arch ddilyth,
Y gair GORPHENWYD a'u tawelodd byth.

4 Crist ydyw'r arch a'r drugareddfa rad,
Yn enw hwn anturiwn at y Tad;
Fe wrendy gŵyn pechadur heb ei ladd,
Fe gymer blaid yr enaid isel radd.

**711.** *Rhinwedd y gwaed...M. N.* 10*au.*

MAE haeddiant mawr rhinweddol waed fy Nuw
Yn llawer mwy na'r pechod gwaetha'i ryw;
Ceir maddeu myrdd, o'r beiau mwya' gaed,
A'r euog brwnt a gànir yn y gwaed.

2 O'm pen i'm traed annhraethol aflan wyf,
Nid oes lanhad, ond yn ei farwol glwyf;
Y ffynon hon agorwyd ar y bryn,
Er dued wyf, a'm gylch yn hyfryd wyn.

3 Efe yw'r Iawn dros ein pechodau ni,
Ei ddryllio wnaed ar fynydd Calfari;
Ein dyled mawr a dalwyd yno'n llawn,
A'r biliau oll a groeswyd un prydnawn.

**712.** *Ffrwyth llafur Crist...M. N.* 10*au.*

EIN Harglwydd cu fu'n hau mewn dagrau blin,
Mewn lludded trwm, ar ddu dymhestlog hîn;
Ond cnwd a gaiff mewn gwiw orfoledd llawn,
Fe'i molir byth am rym ei ddwyfol ddawn.

2 Ymffrostio wnawn am fri ein hynaf Frawd,
Sy'n Llywydd nef a daear yn ein cnawd;
Er iddo fyn'd i wely gwael y bedd,
Cyfodi wnaeth yn gadarn wych ei wedd.

3 Mae'n flaen-ffrwyth yn yr ardal nefol bur
Yn aros cnwd a dardd o'i ddyfnaf gur;
Cynhauaf llawn cyn hir a ddaw yn nghyd,
I fynwes nef o bedwar cŵr y byd.

**713.** *Darpariaeth Duw...M. N.* 10*au.*

CYN llunio'r byd, cyn lledu'r nefoedd wen,
Cyn gosod haul, na lloer, na sêr uwch ben;
Fe drefnwyd ffordd yn nghynghor Tri yn Un,
I achub gwael, golledig, euog ddyn.

2 Trysorwyd gras, ryw annherfynol stôr,
Yn Iesu Grist, cyn rhoddi deddf i'r môr;
A rhedeg wnaeth bendithion arfaeth ddrud,
Fel afon gref, lifeiriol dros y byd.

3 Mae'r udgorn mawr yn seinio'n awr i ni,
Ollyngdod llawn, trwy'r iawn ar Galfari;
Mawl yn mhob iaith trwy'r ddaear faith a fydd,
Am angeu'r groes a'r gwaed a'n rhoes yn rhydd.

**714.** *Llawenhau yn Nghrist...M. N.* 10*au.*

Wrth daro'r graig daeth allan ddyfroedd clir,
Ein dilyn mae', trwy'r dyrys anial dir:
Cawn lawenhau, wrth yfed dyfroedd byw,
A'n golchi'n lân, a'n dwyn i gwmni Duw.

2 Wel f'enaid cod, sefydla'th wamal fryd,
Mae heibio'n myn'd bleserau pena'r byd;
O dring i fyny, ac anghofia'n awr
Bob peth a eilw'r ddaear yma'n fawr.

3 Mi ganaf byth am haeddiant dwyfol waed,
Fy mhrynu a wnaeth, a'm gosod ar fy nhraed:
Boddloni'r Tad, a'i gyfraith yn fy lle,
Ac enill hawl im' byth yn nheyrnas ne'.

**715.** *Dysgwyliad Sion...M. N.* 10*au.*

MAE Sïon wan yn gruddfan dan y groes,
Yn dysgwyl gwawr ar lawr tan lawer loes:
Bywha dy waith, ni phery 'nhaith yn hir,
'Rwy'n ofni'r bedd, heb wel'd dy wedd yn wir.

2 Duw tyr'd i'r maes, yn ogoneddus iawn,
Trwy nerth dy ras par gaffael llwyddiant llawn,
Rhagorol nerth a'th deg brydferthwch di,
A weler trwy holl gyrau'n daear ni.

3 Addewid sydd o hyfryd ddydd i dd'od,
O fan i fan, yn rhyfedd dan y rhod;
Sancteiddrwydd fydd i'r Arglwydd y'mhob lle,
A dedwydd ddydd, gan wenau'i wyneb E'.

**716.** *Llwyddiant yr efengyl...M. N.* 10au.

DOED mawr a bach, o îs a gwaelach ryw,
Rhont glod a mawl i ganmawl enw Duw,
De'wn ninau i gyd, o eitha'r byd heb wad,
I'w foli'n faith, am iachawdwriaeth rad.

2 Cenadon hedd, mewn efengylaidd iaith,
Sy'n galw i'r wledd dros fôr yr India faith:
Caiff Hottentots a'r Negroes dua'u lliw,
Farbaraidd lu, eu dwyn yn deulu Duw.

3 Y ddelw fawr a ddaw i lawr yn ddim,
A'r gareg bach i'w gwel'd o gryfach grym:
Hen anghrist hy' a'i lu a ddaw i lawr,
A'r Iesu fydd fel mynydd uchel mawr.

**717.** *Parhaed brawdgarwch...M. N.* 10au.

MAE Eglwys Dduw, trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw a'u cydsain yn gytun;
Teilwng yw'r Oen, medd seintiau yn y nef,
Teilwng yw'r Oen, yw'n llafar ninau a'n llef.

2 Darfydded sôn am bob ymryson mwy,
Ymbleidiol farn a rhagfarn, lawr â hwy,
Doed ysbryd hedd tangnefedd yn eu lle,
A chariad pur, o'r cariad sy'n y ne'.

3 Gwna fi fel pren planedig, O fy Nuw,
Yn îr ar làn afonydd dyfroedd byw;
Yn gwreiddo ar led, a'i ddail heb wywo mwy:
Yn ffrwytho dan gawodydd dwyfol glwy'.

**718.** *Hun y bedd...M. N.* 10au.

CYN im' i'r bedd yn rhyfedd gael fy rhoi,
Tra byddwyf byw, gwnaed Duw fy mharotoi;
Nid yw ond hûn i bob credadyn gwàn,
O'i oeraidd gôl, daw'n nerthol iach i'r làn.

2 Adgodiad gwych, llon harddwych, mewn
llawn hedd,
Gaiff plant Duw Ion, er bod yn eigion bedd,
Ar wedd dra llou, eu tirion Briod—mwy
Nid ofnant fedd, na chledd, na haint, na chlwy'.

**719.** *Y "Wlad well."..M. N. 10au.*

MI welaf wlad oleudeg uwch y sêr,
Lle trig y saint yn mynwes glyd eu Nêr;
Gwlad lonwych lawn, preswylfod Duw a'r Oen,
I'r hon ni ddaw na thristwch, gwae, na phoen.

2 Gwlad hyfryd iawn, gwlad helaeth odiaeth yw,
Y wlad lle maent nawr gyda'u Ner yn byw;
Pa bryd daw'r dydd caf finau esgyn fry,
A'm gwisg yn wen, i fysg y santaidd lu!

3 Gwlad canu byth i'r gwr fu ar y groes,
Dan hoelion dur yn dyoddef angeu loes;
Gwlad bwrw i lawr goronau heb ddim rhi',
Wrth draed y Crist fu farw drosom ni.

4 Gwlad dda heb wae, gwlad wedi'i rhoi dan [sêl,
Llifeirio mae ei ffrwyth o laeth a mêl:
Grawn-sypiau gwiw, i'r anial dir sy'n dod,
Gwlad nefol yw, uwchlaw mynegi ei chlod.

**720.** *Galwad i'r wledd...M. N. 10, 11—1af.*

MAE galwad yn awr, gwahoddiad o hedd,
Ar waelion y llawr, O deuwch i'r wledd;
Gwledd Aberth Calfaria, mae'n dda i ni ddod,
Cawn bob rhyw oludoedd tra bydoedd yn bod.

2 Cawn yma bob nerth, cawn yma bob dawn,
Heb arian na gwerth, yn rhad ac yn llawn;
Tragwyddol ddarpariaeth hen arfaeth y nef,
I'r enaid angenus, wylofus ei lef.

3 Mi dynaf o hyd er penyd, er poen,
Fy nghysur a'm hedd o rinwedd yr Oen:
Ef fyddo dedwyddyd fy mywyd i mwy,
Mae trysor diddiwedd a gwledd yn ei glwy'.

**721.** *Claddedigaeth...M. N.* 10, 11—1*af.*

MAE angeu yn awr a'i finiog oer gledd,
Yn tori i lawr ryw luoedd i'r bedd;
Heb arbed nac oedran, na rhyw, nac ystad,
Henafgwr, na baban, na mamaeth, na thad.

2 Mae'r ddu gyfyng awr yn prysur nesâu,
Pan dynir i lawr fy mhabell wan frau;
O Dduw dod drugaredd, a maddeu i mi
Yn rhad fy anwiredd, atolwg i ti.

**722.** *Cariad Duw...M. N.* 10, 11—2*il.*

O F'ENAID, câu am gariad rhad cyn byd,
Am gariad sydd yn para'r un o hyd;
Fel afon gref llifeiriodd hwn i lawr,
O orsedd Duw a'r Oen llifeiria'n awr;
Deffroed cenedloedd daear fawr i foli
'R Oen am ei waed, yr hwn a gaed i'n golchi.

2 O gariad rhad,—fe drefnodd Tri yn Un
Ffordd gyfiawn, do, i agor carchar dyn; [byth,
Ffordd hynod yw, ffordd hen, ffordd newydd
Fe gân am hon ryw dorf rifedi'r gwlith;
Trwy hon mae gras, cyfiawnder a thrugaredd,
O hyd yn hael yn dwyn i'r gwael ymgeledd.

3 O gariad daeth in' iachawdwriaeth lawn,
Yn afon gref ar Galfari brydnawn;
O gariad daeth yr Oen i roddi lawr
Ei fywyd pur, tros bechaduriaid mawr;
Ac ynddo Ef mae yr oll yn wirionedd,
Cyfiawnder yn dwyn i'r euog drugaredd.

**723.** *Y Farn...M. N.* 10, 11—*2il.*

GWEL Grist yn dyfod ar y cwmwl draw,
A phob awdurdod yn ei nerthol law:
Cerubiaid fyrdd yn eu cerbydau tân,
Yn gyru'n glau o gylch eu Harglwydd glân,
Y ddaear gryn, y beddau ymagorant,
Cân udgorn Duw, a'r meirw a gyfodant.

2 "Dewch," medd y Barnwr, "anwyl blant fy [Nhad,
Meddienwch byth eich etifeddiaeth rad:
Ond chwi, gelynion fy ngorseddfainc lân,
Ewch oll o'm gwyddfod i'r tragwyddol dân."
Sïon alarus nawr a orfoledda:
A'r nefoedd uchod fyth a lawenycha.

**724.** *Gogoniant y nefoedd...M. N.* 10, 11—*2il.*

AR aden ffydd, esgyna, f'enaid cu,
Gwel d'etifeddiaeth, uwch yr wybren fry:
Ni ddeall dyn, ni ddichon tafod chwaith
Fyth draethu maes ei phur ogoniant maith:
Yno teyrnasa Iesu yn dragwyddol,
Ar bechod, angeu, uffern yn fuddugol.

2 Un gofid trwm, na chystudd chwaith na chur,
Ni ddaw i byrth y lân breswylfa bur;
Tristwch nac ofn i flino'r seintiau mwy;
Llaw Duw ei hun a sych eu dagrau hwy:
Yno teyrnasa Iesu yn dragwyddol,
Ar bechod, angeu, uffern, yn fuddugol.

3 Mae afon bur yn d'od o'r orsedd wiw,
Dwfr bywiol hon grisialaidd ddysglaer yw;
Yno mae pren y bywyd, prydferth iawn,
A'i ffrwyth a'i ddail o bob rhinweddau'n llawn:
Yno teyrnasa Iesu yn dragwyddol
Ar bechod, angeu, uffern, yn fuddugol.

**725.** *Trugaredd Duw...M. N.* 11*au.*

O RYFEDD drugaredd, achubodd fy mlaen,
Pan ar y ffordd lydan yn rhedeg i'r tân;
Trugaredd a'm cwrddodd, O ryfedd ei hyd,
O deuwch, rhyfeddwn drugaredd i gyd.

2 Dyn gwael heb ymgeledd yn gorwedd mewn gwaed,
Yn glwyfus gan bechod o'm pen hyd fy nhraed;
Heb neb all'sai 'nghodi o'r pydew i'r làn,
Ond rhyfedd drugaredd mi gana'n mhob màn.

3 Mae ganddo drugaredd i'r dùaf ei liw,
Fe ddichon ei olchi, un rhyfedd yw Duw!
Mae'n maddeu anwiredd, a chamwedd, a bai,
O deuwch, derbyniwch drugaredd bob rhai.

**726.** *Y Cyfaill goreu...M. N.* 11*au.*

MI ge's y Ffrynd goreu, fyth, fyth all'sai fod,
'R addewid a roddodd ni thorodd erioed;
Er byw'n ei ogoniant yn nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy fy llef.

2 Wel, tyred, fy enaid, o'th hunan i maes,
Ymffrostia yn unig yn Iesu a'i ras;
Efe wnaeth y cwbl, efe biau'r clod,
Bydd moliant i'w enw tra nefoedd yn bod.

**727.** *Rhyfeddodau yr Iawn...M. N.* 11*au.*

RHYFEDDOD, rhyfeddod i Brynwr y byd
Roi'i enaid yn aberth yn daliad mor ddrud,
I godi pechadur o ddyfnder ei wae,
A'i ddwyn i ogoniant, byth byth i barhau.

2 O bellder tragwyddol y gwelodd Efe,
Nad oedd gynorthwywr i ddyn îs y ne';
Addawodd ei einioes, fe'i rhoddodd i lawr,
I gadw pechadur; ei gariad oedd fawr.

3 Ei ras a'i cymhellodd yn wyneb y groes;
Ei fraich a'i hachubodd yn nyfnder ei loes;
Ca'dd lawn fuddugoliaeth ar Galfaria fryn,
Mewn gwendid gorchfygodd, ni ganwn am hyn.

4 Y gyfraith oedd fanwl, a pherffaith, a llym;
Cyfiawnder gofynol, anfeidrol ei rym;
A'r gwaelaf bechadur, truenus ei lun,
Mae digon yn Iesu i'r rhai'n bob yr un.

**728.** *Concwest Crist...M. N.* 11*au.*

MAE'R faner i fyny, hi liwiwyd mewn gwaed,
'Does heddwch i'r gelyn nes cwympo dan draed,
Ni ildia, ni orphwys Tywysog y nef,
Nes byddo'r holl ddaear yn eiddo iddo Ef.

2 Mae'n bryd i ni ganu, ni gawsom y fraint,
Mae'r rhyfel yn cerdded o ochr y saint;
Gan hyny dechreuwch, mae'n ddigon o bryd
I ganu caniadau i Brynwr y Byd.

3 Fe safodd i fyny, fe 'nillodd fath glôd,
Bydd myrdd yn ei ganmol tra'r nefoedd yn bod;
Efe wnaeth y cwbl, bydd canu iddo byth,
Gan nefoedd a daear, yn dyrfa dilyth.

**729.** *Gwahoddiad at Grist...M. N.* 11*au.*

O DEWCH, bechaduriaid, bob gradd a phob rhyw,
I edrych ar Iesu yn marw ac yn byw;
Edrychwch, a chredwch, a phrofwch ei hedd,
Ac felly gorchfygwch fyd, Satan, a'r bedd.

2 Mae ynddo gyflawnder a golud di-drai,
I wisgo'r noeth euog, a maddeu pob bai,
I lòni'r gofidus, helbulus ei daith,
A chynal y gweiniaid, trwy'r anial sy faith.

3 Offeiriaid in' ydyw, fe saif yn y dŵr,
Nes myned o'i Israel oll drwodd bob gwr;
O waelod Iorddonen, fe'u harwain i'r wlad
Sy berffaith ei gwynfyd, o fythol barhad.

**730.** *Balm yn Gilead...M. N.* 11*au.*

MAE balm yn Gilead, iachusol ei ryw,
Ac hefyd Phisygwr, sy'n ddyn ac yn Dduw;
Iachâodd ryw filoedd, iachâ eto fwy,
'Does derfyn ar rinwedd iachusol ei glwy'.

2 Phisygwr gwybodus o natur fy mhlâ,
Un cadarn i achub, fe gwbl iachâ;
Un ffyddlon, un tirion, un rhadlon yw Ef,
Nid oes y fath feddyg dan entrych y nef.

3 Fy enaid afiachus, llawn clwyfau i gyd,
Tro'th wyneb at Iesu, Iachawdwr y byd;
Er amled dy glwyfau, er dyfned dy blâ,
O cred yn yr Iesu, fe'th gwbl iachâ.

4 Os caf iachawdwriaeth i'm clwyfau a'm poen,
Fy ngwaith yn dragywydd fydd canmol yr Oen,
Gymerodd ei ddryllio a'i glwyfo gan Dduw,
I'r dyben o gadw'r fath eiddil yn fyw.

**731.** *Cariad Crist ynom...M. N.* 11*au.*

TYR'D, Arglwydd anwylaf, preswylia dy hun,
Trwy ffydd a gwir gariad, yn nghalon pob un,
Fel gwypom, y profom, y teimlom trwy ras,
Lawenydd na ddichon un tafod roi i ma's.

2 Tyr'd llanw'n calonau â gras i'n cryfhau,
Gwna'n henaid eangu, gael meddu a mwynhau,
A dysgu lled, uchder, a dyfnder a hyd,
Dy ras anfesurol, a'th gariad i gyd.

3 Yn awr, i'r Duw hwnw a ddichon mwy wneud
Nag allom ni feddwl, dymuno na dweyd,
Y byddo tragwyddol ogoniant îs nef,
Gan bawb o'i lân eglwys, trwy Grist ei Fab ef.

**732.** *Heddwch cydwybod...M. N.* 11*au.*

O GARIAD, O gariad anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor annheilwng yn cael y fath fraint,
Cael heddwch cydwybod a'i chlirio trwy'r gwaed,
A chorph y farwolaeth, sef llygredd, tan draed.

2 Nid oes ond y ffynon anfeidrol ei rhîn,
A'm gylch fel yr eira; mae i'm genau fel gwin;
Ei phrofi'n sylweddol, effeithiol trwy ffydd,
A'm dwg yn ddiogel, trwy'r rhyfel yn rhydd.

3 Ni allai'r holl foroedd byth olchi fy mriw,
Na gwaed y cre'duriaid er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messia a'm gwella i'n ddiboen,
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen.

4 Mae'r Jubil dragwyddol yn awr wrth y drws,
Fe gododd yr haul-wen, ni gawsom y tlws;
Doed Gogledd, a Dwyrain, Gorllewin, a De',
Yn lluoedd i foli Tywysog y ne'.

**733.** *Angylion yn gweini...M. N.* 11*au.*

DUW mawr, i ba uwchder gogoniant a stad,
Y llawen ddyrchafwyd dy unig Fab rhad:
Angylion yn ngwisgoedd tanbeidiol y nef,
A wnaethpwyd yn weision i'w orsedd hardd Ef.

2 Angylion anfonir i dywys ein traed,
Ar hyd y ffordd union yn mlaen i dŷ'n Tad;
Trwy'r amryw beryglon sy'n llawn yn mhob lle,
O hyd i'n cyfarfod wrth deithio i'r ne'.

3 Pan byddwyf yn gadael y babell bridd hon,
Pan ddaw y gorchymyn im' ddyfod ger bron;
O Dduw, anfon angel caredig o'r nef,
I dywys fy enaid yn ddiogel i dref.

**734.** *O ddyfnder!..M. N.* 11*au.*

O DDYFNDER doethineb tragwyddol a gras!
O ddyfnder trugaredd! ymgeledd i'r cas!
Ffordd newydd agorwyd i'r euog at Dduw,
Ffordd rad a gysegrwyd i'r marw gael byw.

2 O ddyfnder haelioni, tosturi Duw'r Tad!
O ddyfnder ei gariad, tragwyddol a rhad!
Ei unig anedig anfonodd efe,
I ddwyn ein hanwiredd, a marw'n ein lle.

3 O ddyfnder dirgelwch, Duw cadarn mewn cnawd!
A Thad tragwyddoldeb yn briod a brawd:
Tywysog tangnefedd, a phreseb yn gryd:
Yn dlawd mewn cadachau, caed Prynwr y byd.

4 O ddyfnder tylodi, a chyfoeth yn un!
Trwy ddyfnder marwolaeth daeth bywyd i ddyn!
Tywysog y bywyd, fu farw ar y groes;
Pwy draetha'n dragwyddol ddyfnderoedd ei loes!

**735.** *O ddyfnder!..M. N.* 11*au.*

O DDYFNDER dirgelwch! gwel f'enaid y fan
Y chwysodd Creawdwr y bydoedd fel gwàn:
Wrth dalu'r holl ddyled—O syned y saint!
Pa alar a thristwch! pwy fesur ei faint?

2 O f'enaid rhyfedda! gwêl Iesu'n ei waed,
A'i chwys yn afonydd o'i ben hyd ei draed;
Y sanctaidd, y cyfiawn, a'r uniawn—O ras!
A'i ddagrau'n diferyd yn ngofid ei gâs.

3 Nid oes all amgyffred ei deimlad fel dyn,
A'i gorph yn ddrylliedig, a'i enaid yn un;
Ei Dad yn ymguddio, a'i gleddyf 'run pryd
Yn deffro yn erbyn Iachawdwr y byd.

4 O ddyfnder tragwyddol! pa gariad yw hyn?
Y Bywyd yn marw ar Galfari fryn;
Y Cyfiawn a hoeliwyd, er rhoddi rhyddhâd
O afael marwolaeth i filoedd yn rhâd.

**736.** *Y Farn...M. N.* 11*au.*

MAE'R ddaear a'i llawnder ar ddarfod o'r bron;
Gwae rhai fo â'u calon yn glynu wrth hon:
O Arglwydd, rho gymhorth i'th bobl o hyd
'Ro'u trysor i gadw y'mhell uwchlaw'r byd.

2 Pan elo'r byd yma yn wenfflam i gyd,
Bydd pob un yn wylo a rydd arno'i fryd:
Ond moliant i'r Iesu, pan elo ar dân,
Bydd rhai y pryd hyny yn uchel eu cân.

**737.** *Can y gwaredigion...M. N.* 11*au.*

GOGONIANT fydd anthem y saint yn gytun,
Pan ddelont o gyrau'r anialwch yn un;
Gogoniant am agor y carchar oedd dŷn,
Gogoniant am farw ar Galfari fryn!

2 Gogoniant am achub pentewyn o'r tân,
Am ffynon i olchi pechadur yn lân;
Am wisg idd ei guddio, a'i gadw rhag llid,
Am ras a maddeuant o'i bechod i gyd.

3 Gogoniant i'r Cyfiawn, O cenwch yn un,
Gorchfygodd y cedyrn, yn Edom ei hun;
Mae'n orsedd gogoniant tragwyddol tŷ'i Dad,
Mae'n ffordd a gwirionedd, a bywyd yn rhad.

**738.** *Cofio ein Creawdwr...M. N.* 11*au*—6 *llin.*

O COFIWN yn awr, yn nyddiau ieuenctid,
Ein CREWR tra mawr, Cynaliwr ein bywyd;
Cyn rhedeg ein hoes i'r dyddiau tra blinion,
Can's ynddynt nid oes dyddanwch i ddynion:
Llafuriwn mewn pryd am gael y trysorau
A bery cyhyd â'n gwerthfawr eneidiau.

2 Cyn profi cŵyn prudd adfeiliad ein natur,
Can's henaint a rydd wanhâd i bob synwyr;
A chyn profi'r briw o dori'r colofnau,
Dewiswn y Duw a'n tywys trwy angeu;
Cael Cyfaill a lŷn fydd werthfawr iawn yno,
Pan fyddo pob dyn heb fodd i'n cysuro.

3 A'r babell frau hon yn ol i'w hen bentwr,
A'r enaid ger bron Creawdydd a Barnwr;
'Mofynwn yn fawr yn moreu'n blynyddau,
Am nabod yn awr Waredwr eneidiau;
Gwell ini na'r byd gael nabod yr Iesu,
Fe'n cynal y pryd bydd natur yn pallu.

4 Yr Iesu â'i waed a dalodd ein dyled,
Ffordd newydd a wnaed i'n dwyn o gaethiwed;
Trwy ffydd ynddo Ef y mae i bechadur
Gael hawl yn y nef, cartrefle pob cysur;
Ei nabod, gwir yw, sy ddigon yn angeu,
Am fyned i fyw i'r nefol drigfanau.

**739.** *Daioni ac amynedd Duw...M. N.* 11, 9—1*af.*

RHYFEDDWN oludoedd daioni ein Duw,
 I rai anniolchgar a drwg:
O'i radlawn amynedd ŷm heddyw yn fyw,
 Rai haeddodd ei soriant a'i ŵg!

2 Mor galed, mor gyndyn, mor ffol oeddym ni!
Ond rhyfedd ymaros ein Tad;
Ymgrymwn i'r llawr, a derchafwn ein cri,
Am faddeu'r anwiredd yn rhad.

3 O herwydd dirmygu daioni mor fawr,
Mae cywilydd wynebau i ni:
Ond gras sy'n teyrnasu trwy nefoedd a llawr,
Trugarog, ein Tad, ydwyt ti.

4 O tyred, a dena ewyllys pob un,
Rho uniawn egwyddor o'n mewn,
Meddianna'n calonau yn gyfan dy hun,
A threfna'n gweithredoedd yn iawn.

**740.** *Nadolig Crist...M. N.* 11, 9—1*af.*

DYRCHAFWN ein llef mewn clodforedd i'r nef,
Canys ganwyd in' Brynwr a Brawd;
Wele'i gariad oedd fawr, pan y daeth yma i [lawr,
Haleluia am Dduw yn y cnawd.

2 Addewid y Tad a esgorodd yn rhad,
Ar y Ceidwad yn Methlehem draw;
Ein Gwaredwr yw Ef, anfonedig y nef,
Mae maddeuant a hedd yn ei law.

3 Yn isel fe ddaeth, i waredu y caeth,
O ddyfnderoedd trueni a phla;
Fe orchfygodd yn lân bob rhyw elyn o'i flaen,
A theyrnasu'n dragwyddol a wna.

4 Bydd engyl a saint yn mawrhau y wir fraint,
O roi'r goron dros fyth ar ei ben;
Bydd y floedd "IDDO EF," yn enynu trwy'r [nef,
Wir ogoniant a moliant, Amen.

**741.** *Yr Ysgol Sabbothol...M. N.* 11, 9—*2il.*

MOLIANNWN yr Arglwydd am lwyddo'n ein gwlad
Yr Ysgol Sabbothol i'n dysgu yn rhad,
Yn ngair y gwirionedd, gair dwyfol y Tad,
Y mae bywyd a heddwch yn hwn;
Ymdrechwn yn ddyfal tra pery ein hoes,
I feddu sylweddol drysorau y groes,
Ddaeth ini trwy'r Iesu, ei angeu a'i loes,
Sydd fwy gwerthfawr na'r hollfyd yn grwn.

2 Tywysog tangnefedd deyrnaso'n ei rym,
A chleddyf ei Ysbryd a fyddo yn llym,
A theyrnas y t'w'llwch a ddelo i'r dim,
O flaen nerth a dysglaerdeb y wawr;
Yn myddin yr Iesu dymunwn gael bod,
Ymdrechwn yn ffyddlon i gyrhaedd y nôd,
Ac yna i'w enw dadgenir y clod,
Trwy holl eang derfynau y llawr.

3 Wrth chwilio'r Ysgrythyr y denir fy mryd,
Ar drysor rhagorach na'r ddaear i gyd,
Ar drysor a bery pan dderfydd y byd—
Sef y trysor sy'n angeu y groes:
Gan hyny mor werthfawr yw meddiant yn awr
O'r Gair sydd yn dangos trysorau mor fawr,
Eheda fy enaid i'w meddn ryw awr,
Pan orphenaf fyr ddyddiau fy oes.

**742.** *Llais rhad ras...M. N.* 12*au.*

LLAIS hyfryd rhad ras sydd yn gwaeddi, Diangfa:
Yn nghlwyfau Mab Duw, idd yr euog mae noddfa:
Fe redodd ei waed ef yn ffrydiau iachusol,
I olchi aflendid a phechod yn hollol:
Haleluia i'r Oen! a bwrcasodd ein pardwn,
'Nol croesi'r Iorddonen drachefn ni a'i molwn.

2 Ar angeu ac uflern ca'dd lawn fuddugoliaeth,
Yspeiliodd holl allu'r tywyllwch ar unwaith;
Holl filwyr y groes a gant ynddo dangnefedd,
Fe'u harwain hwy'n sicr i berffaith orfoledd:
Haleluia i'r Oen, &c.

3 Yn ol tirio'n iach idd y tawel aneddau,
Ni seiniwn ei glodydd ar auraidd delynau;
Trwy nefol ardaloedd ni a'i molwn fyth fythol,
Wrth rodio ar lenydd yr afon dragwyddol:
Haleluia i'r Oen, &c.

**743.** *Ymddiried yn Nuw...M. N.* 12*au.*

YMDDIRIED, gredadyn, yn Nuw yr holl dduwiau,
Efe all dy wared o bob cyfyngderau;
Er llamu y bryniau, er cilio'r mynyddoedd,
Yr un yn dragywydd fydd Arglwydd y lluoedd,
Yr haul yn dywyllwch, a'r lloer yn waed welir,
Ond Duw sy'n cyhoeddi "myfi ni'm newidir."

**744.** *Einioes yn cilio...M. N.* 12*au.*

AIL ydyw fy nyddiau i rediad y wenol,
O'r byr fyd daearol i'r maith fyd tragwyddol:
Neu fel y blodeuyn 'nol hawddgar flodeuo,
Yn nghanol ei degwch yn darfod am dano;
Mae pob peth o'm hamgylch yn amlwg yn tystio,
Mai'n fuan yn angeu y byddaf yn huno,

2 Pe i olwg fy mhabell, 'nol iddi ddadfeilio,
Y deuai 'nghyfeillion, gan ddwysaidd och'neidio,
Dim cysur nis caffent i'w teimlad hiraethlon,
Nis gallai galarnad byth gyrhaedd fy nghalon:
O, f'enaid! mewn bywyd cais undeb a Iesu,
Efe all dy gynal pan byddont hwy'n cefnu.

**745.** *Gorphenwyd...M. N.* 12*au.*

GORPHENWYD, pwy ddywed, wrth fodd calon
O'i fodd a'i Un Anwyl i le ei elynion: [Sion?
Pe myrdd mwy o fydoedd, yr Iawn sydd ddigonol,
Ond effaith ei rinwedd ga'r enaid crediniol:

Tywalltwyd y ffrydlif ar glogwyn Calfaria,
Wna dduaf bechadur yn wynach na'r eira.

2 Os duodd yr haul daeth gwawr mwy godidog;
Condemniwyd y Barnwr, Rhyddhawyd yr euog!
Fe ddarfu'r ddyfalach, ddyfalach fawr wasgfa,
Rhoed taenfa chwys rhuddwawr tros rew Gethsemana!
Fe deimlwyd y cusan oedd arwach na'r hoelion,
A'r gwadu ai'n bellach na'r bicell i'r galon.

3 Fe wisgwyd y porphor, gorchfygwyd yn Bosra;
Marwolaeth a lyncwyd yn nghroes y Messia!
Y creigiau ymrwygent yn mhoethder y frwydr,
A chrynai pob cadarn, ond—calon pechadur!
Gorphenwyd! tarawyd y Graig! wele Ffynon!
Mae noddfa'n y gwanu! mae nef yn y goron!

4 Mae can yn ei wylo, mae balm yn ei ddagrau,
A bywyd diderfyn yn deilliaw o'i angeu!
Gorphenwyd! mae pob prophwydoliaeth yn gyfan,
Mae mel yn ngwaelodion sur waddod y cwpan:
Haleluia i'r Oen! ei boen a ddybenwyd!
Dechreuer yr anthem! gorphenwyd! gorphenwyd!

**746.** *Yr Achos Cenadol...M. N. 12au.*

EHEDA, eheda, Efengyl dragwyddol!
Ar adenydd y wawr yn gyflym a nerthol;
Cyhoedda trwy'r hollfyd fod cymod a'r nefoedd,
Darostwng yn rasol gyndynrwydd y bobloedd;
O! d'wed am yr Iawn sydd yn clirio'r euoca',
A'r ffynon wna'r Ethiop yn wyn fel yr eira.

2 Dirgelion y nefoedd, datguddia yn helaeth,
Fod Crewr plant dynion yn gwisgo dynoliaeth,
Er arbed yr euog, i'r Iesu Jehofa
Offrymu ei hunan ar fynydd Calfaria:
O d'wed &c.

3 Gwna'r gwylltiad yn araf, a'r creulon yn dirion,
A chymod y nefoedd gwna heddwch rhwng dynion,
Cyhoedda faddeuant i'r euog helbulus,
A thywys y crwydriaid yn ol i baradwys;
O d'wed &c.

# YR AIL RAN:

YN CYNWYS

# Hymnau Cyfansoddedig o'r Salmau

AR AMRYWIOL FESURAU.

---

**747.** *Y dyn gwynfydedig...M. H.* (Salm 1.)

GWYN fyd yr hwn nid â ar hyd
Ffordd lydan annuwiolion byd:
Ni châr gyfeillach gwŷr di-ras,
Ni siarad fel gwatworwyr câs.

2 Ond ei ddifyrwch pena' fydd
Yn nghyfraith Duw ar hyd y dydd:
A'r nos mewn oriau effro cair
E'n hoff fyfyrio yn y gair.

3 Bydd hwn fel pren wrth ddyfroedd byw,
Yn lâs ei ddail yn eglwys Dduw:
A bendith hylwydd fry o'r nef
Fydd ar holl waith ei ddwylaw ef.

**748.** *Y dyn gwynfydedig...M. S.* (Salm 1.)

Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gynghor;
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste'n 'stol y gwatwor.

2 Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod;
Ac ar ei ddeddf rhydd ddydd a nos
Yn ddiddos ei fyfyrdod.

3 Ef fydd fel pren plàn ar làn dol,
  Dwg ffrwyth amserol arno;
Ni chrina'i ddalen, a'i holl waith
  A lwydda'n berffaith iddo.

4 Nid felly bydd y drwg di-rus,
  Ond fel yr ûs ar gorwynt;
Yr hwn o'r tir a'i chwyth a'i chwal,
  Anwadal fydd ei helynt.

**749.** *Breniniaeth Crist...M. H.* (Salm 2.)

PAHAM mae dynion â'u holl rym
Mor hyf yn gwisgo arfau llym,
Yn erbyn cadarn Iôr y nef
A'i unig Fab eneiniog Ef?

2 Y Duw sydd yn teyrnasu frŷ,
A chwardd am ben eu balchder hy',
Eu bronau leinw Ef â braw,
A d'wed mewn taran oddidraw—

3 "Fy Mrenin a sicrhaf er hyn,
Ei orsedd saif ar Sïon fryn,
Cyfodais Ef o farw i fyw,
Caiff byth reoli dynol-ryw."

4 Nawr byddwch ddoeth, freninoedd byd,
Addolwch Dduw, yr Oen, mewn pryd;
Cusenwch y Mab uchel-radd,
Rhag iddo ddigio'n llym, a'ch lladd.

**750.** *Hyder yn Nuw...M. S.* (Salm 4.)

PAN alwaf arnat ti, fy Ner,
  Duw fy nghyfiawnder, gwrando;
Eangaist arnaf—trugarhâ—
  Clyw fy ngweddiau eto.

2 Fe ddywed llawer yn eu brys,
Pwy ddengys in' ddaioni?
O Arglwydd, dyrcha arnom ddawn
Dy wyneb, cawn oleuni.

3 Ti roddaist yn fy nghalon fwy
Llawenydd, drwy drugaredd,
Na phan y cawsant hyfryd hîn;
Ac ŷd a gwin ddigonedd.

4 Mewn hedd i'm hûn, a Duw i'm côf,
Fy nghorph a ro'f i orwedd;
Rhoi im', fy Nuw, er ofnau trwch,
Ryw ddyogelwch rhyfedd.

**751.** *Hyder yn Nuw...M. S.* (Salm 4.)

O DDUW cyfiawnder a phob gras,
Fy nghwyn yn addas gwrando;
Mewn ing ëangaist arnaf fi;
Rho glust i'm gweddi eto.

2 Pa hyd, blant dynion, y trowch chwi,
'Ngogoniant i yn w'radwydd:
Pa hyd y cerwch gelwydd cas,
A chablu gras fy Arglwydd?

3 Duw a neillduodd iddo'i hun
Bob duwiol ddyn, gwybyddwch;
Er mwyn ei Fab fe wrendy'n llef,
Cânt ganddo ef ddyddanwch.

**752.** *Bore dydd yr Arglwydd...M. S.* (Salm 5.)

CLYW 'ngweddi, Arglwydd, yn ddiball,
A deall fy myfyrdod:
Erglyw fy llais a'm gweddi flin,
Fy Nuw a'm Brenin hyglod.

2 Yn fore gwrando fi, fy Naf,
Yn fore galwaf arnad;
Can's nid wyt Dduw i garu drwg,
Ni thrig i'th olwg anfad.

3 Dof finau tua'th dŷ mewn hedd,
Am dy drugaredd galwaf;
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

4 Can's ti, Arglwydd, anfoni wlith
Dy fendith ar y cyfion;
A'th gywir serch, fel tarian gref,
Rhoi drosto ef yn goron.

**753.** *Gweithredoedd yr Arglwydd...M. S.* (Salm 8.)

O ARGLWYDD ein Iôr ni a'n nerth,
Mor brydferth wyt drwy'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a ro'ist uwch ben
Daear ac wybren hefyd.

2 Ti beraist nerth o enau plant,
A'r rhai a sugnant beunydd,
I ganmol Duw, a dofi dig
Y ffyrnig ymddialydd.

3 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, y sêr, a threfn y rhôd,
A'u gosod mor gyfanedd;

4 Pa beth yw dyn, it' i'w goffâu,
O ddoniau ac anwyl-fraint?
Pa'm rho'ist yn Nghrist, oedd wael ei wedd,
Gras a thrugaredd gymaint?

5 O Arglwydd ein Iôr ni a'n nerth,
Mor brydferth wyt drwy'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a ro'ist uwch ben
Daear ac wybren hefyd.

**754.** *Pa beth yw dyn?..M. H.* (Salm 8.)

O ARGLWYDD, Brenin nef a llawr,
Ardderchog yw dy enw mawr;
D'ogoniant trwy'r holl ddaear aeth,
Ac uwch y nef dyrchafu wnaeth.

2 O enau plant, gogoniant cai,
A'th ryfedd ras a eglurhâi;
Fel hyn y peraist ynddynt rym
I osteg llid y cablwyr llym.

3 Fy ngolwg pan ddyrchafwyf draw,
A gweled gwaith dy gywrain law:
Y lloer a'r sêr, mor ddysglaer sy'
Yn harddu'r wybren dywyll fry;

4 Pa beth yw dyn? abwydyn gwael,
Annheilwng o'r fath ffafar hael:
Nesa' i'th angylion dodaist ef,
Yn arglwydd pob peth dan y nef.

**755.** *Mawl i Dduw...M. S.* (Salm 9.)

CLODFORAF fi fy Arglwydd Iôn,
O'm càlon ac yn hollawl:
Ei ryfeddodau rhof ar led,
Ac mae'n ddyled eu canmawl.

2 Byddaf fi lawen yn dy glod,
Ac ynot ymddiriedaf:
I'th enw, O Dduw, y canaf glod,
Wyt hynod y Goruchaf.

3 Gwna'r Arglwydd hefyd hyn wrth raid,
Trueiniaid fe'u hamddiffyn:
Noddfa a fydd i'r rhai'n mewn pryd,
Pan fo caledfyd arnyn'.

4 A phawb a'th edwyn rhont eu cred,
A'u holl ymddiried arnat;
Can's ni adewaist, Arglwydd, neb
A droes ei wyneb atat.

**756.** *Noddfa i'r gwan...M. S.* (Salm 9.)

CYFODI wnaf, medd Duw, o blaid
Ochenaid y tylodion:
I'r enaid llesg a gwan sy'n gaeth,
Rho'f iechydwriaeth dirion.

2 Byth nid anghofir y tylawd,
Mae tirion frawd a'i cyfyd;
Fe dry ei obaith yn fwynhad,
Yn nghanol gwlad y gwynfyd.

3 Craig fy nghadernid yw Duw Ion,
Mewn ing gofidion angau,
I'm hachub daw, rhag braw mewn brys,
O'm dyrus orthrymderau.

**757.** *Preswylyddion Sion...M. H.* (Salm 15.)

DUW, pwy a ddring i'th nefoedd fry,
A drig ger bron dy wyneb cu?
Y dyn trwy ffydd yn Nghrist sy'n byw,
A rodio'n isel gyda Duw.

2 Un â llaw lân, a chalon bur,
Ni thraetha â'i enau ond y gwir;
Ni thrig ar dafod hwn ddrwg air,
A gwneuthur cam â neb nis cair.

3 Ni dderbyn athrod, ac nis dwg
I wneuthur i'w gymydog ddrwg:
Gwael yw'r drygionus ger ei fron,
Ond saint, fe'u hanrhydedda'n llon.

4 Diysgog wrth ei air y sai',
A'i addewidion mae'n gwblhau:
A peth a dwng ni newid chwaith,
Pa golled bynag ddel o'r gwaith.

5 Eto, pan wnel bob gweithred dda,
Ar ras yn unig pwyso wna:
Hwn ydyw'r dyn caiff weled Duw,
A chydag E'n drag'wyddol fyw.

**758.** *Cymhorth dwyfol...M. S.* (Salm 16.)

GOSODAIS, f'Arglwydd, ger fy mron,
Mae'n dal fy nghalon fyny:
Fy nghnawd a drig mewn gobaith llawn,
'Rwy'n llawen iawn am hyny.

2 Ni edy'm Ion mo'm hysbryd byth
I drigo 'mhlith y meirw;
Na'm corph i aros yn y bedd,
I weled llygredd hwnw.

3 Datguddi ffordd y bywyd fry,
Gan fy nyrchafu i'th orsedd;
Lle mae hyfrydwch ger dy fron,
Llawenydd llon heb ddiwedd.

4 Pa bryd y caiff fy enaid fyn'd
I'r nefol fryn tragwyddol?
Crist ar ddeheulaw Duw sy fry,
A'r Tad yn gwenu'n siriol.

**759.** *Hun y bedd...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 17.)

EDRYCHAF ar dy wedd,
Fy hyfryd hedd o hyd;
Dy wyneb, yn dy ras,
Sydd drech na'm cas i gyd;
Ac yn nghyfiawnder Iesu gwiw
Mae 'ngobaith caf dragwyddol fyw.

2 Cyfiawnder Duw a dyn,
Caf ynddo hûn mewn hedd,
A gwisgo delw Duw
Pan godwy'n fyw o'r bedd,
Ac edrych ar dy wyneb glân
Pan elo'r byd yn ulw mân.

**760.** *Gwrandawiad gweddi...M. H.* (Salm 18.)

TYDI a garaf, Arglwydd nef,
Ny Nghraig, fy Nhŵr, fy Noddfa gref,
Rhof ar d'alluog fraich fy mhwys,
Trwy hon ce's iachawdwriaeth ddwys.

2 Yn fy nghyfyngder gelwais Dduw;
Braidd gall'swn ddweyd, Fy eiddo yw:
Gostynga'i glust i wrando'm cwyn,
A'i ras amlygodd i mi'n fwyn.

3 Mewn brys i'm cadw, 'hedeg wnaeth,
Fel ar adenydd cerub daeth;
Fel mellten, dysglaer iawn a syn
Oedd gwedd f'Achubwr, Duw, bryd hyn.

4 Fy nghân, a gaiff adgoffa o hyd
Fy ngwaredigaeth hyn o bryd;
A rho 'r gogoniant, teilwng yw,
I allu a thrugaredd Duw.

**761.** *Y Greadigaeth...M. H. D.* (Salm 19.)

YR eang faith ffurfafen fry
Yr wybren lâs uwchben y sy,
A'r nef serenog ddysglaer wiw,
Sy'n datgan mawr ogoniant Duw.
Yr haul diflino o ddydd i ddydd,
Yn dangos gallu'i Grëwr sydd,
Ac yn cyhoeddi drwy bob gwlad,
Weithredoedd Hollalluog Dad.

2 Pan ddel cysgodau'r hwyr ar led,
Y lloer ei hanes ryfedd dd'wed,
O'i chreadigaeth i'r pryd hyn,
Tra gwrendy'r ddaear arni'n syn.
Y tanllyd sêr o'i chwmpas hi,
A'r holl blanedau mawrion sy,
Yn gwirio'r hanes yn eu taith,
Trwy gonglau pell y ddaear faith.

3 Tra mewn dystawrwydd pur digoll
Y tröant yn eu cylchoedd oll,
Ac er nad oes na llais na sain
I'w glywed yn nghylchdeithiau rhai'n,
Yn nghlustiau rheswm llawenhant,
A seinio'n ogoneddus wnant,
Mewn unol lef gysonlef syw,
"Y llaw a'n gwnaeth un ddwyfol yw."

**762.** *Y greadigaeth a'r gair...M. N.* 9, 8. (Salm 19.)

Y NEFOEDD sy'n datgan clodforedd,
Gogoniant a mawredd Duw mad;
Mynegi mae'r bydoedd serenol
Waith dwylaw rhyfeddol y Tad;
O ddydd i nos rhoddant yn helaeth
Ymadrodd gwybodaeth i'r byd;
Eithafoedd y ddaear, pob edrydd,
A glybu 'u lleferydd yn nghyd.

2 Tawy'r ddaear aeth sŵn eu hymadrodd,
A'u llef trwy ardaloedd y llawr:
Yn nghanol hardd wersyll ffurfafen
Gwnaeth babell i'r haulwen sydd fawr,
A hwn, fel gŵr priod, ddaw allan
O'i 'stafell—mae'n llydan y lle—
Fel cadarn yr â yn ardderchog,
Ei yrfa hedegog drwy'r ne'.

3 Ond cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith,
Mwy nerthol ei heffaith na haul;
Mae'n gyflawn er adfer yr enaid,
A'i arwain o'i niwaid yn ail.
Gwir ydyw tystiolaeth yr Arglwydd,
Cawn yma well sicrwydd na'r sêr;
Ei haddysg sy'n gwneuthur rhai gwirion
Yn ddoethion i 'nabod eu Nêr.

4 Mor uniawn holl ddeddfau'r Jehofa,
Gwnant galon a'i briwiau îs bron,
Er galar a gofid a thristwch,
Trwy iechyd a heddwch yn llon:
Pur ydyw gorch'mynion yr Arglwydd
I'r enaid rhagorach eu dawn,
Ac ynddynt, er llyfr creadigaeth,
Amgenach dysgeidiaeth a gawn.

5 Ymadrodd fy nhafod fo'n union,
Myfyrdod fy nghalon y'nghyd,
Ger bron fy Nêr grasol goruchel—
Efe sy'n fy nghynal o hyd;
Fy Nghraig, fy Nghadernid, a'm Prynwr,
'M Gwaredwr a'm Noddwr yw Naf:
Ei foli fel hyn mewn cysondeb,
Yn llewyrch ei wyneb, a gaf.

**763.** *Y gair yn rhagori...M. C. D.* (Salm 19.)

GOLEUNI mwy sydd yn y gair
Na goleu'r haul a'r sêr,
Gwaith bysedd Iôr sydd uwch ein pen,
Trwy'r nen, mor fawr yw'n Nêr!
Cawn yn y gair wel'd Duw ein Naf,
Y trugarocaf un,
Ei ddwyfol wedd mor hyfryd yw
Mae'n lloni'n lliw a'n llun.

2 Pob priodoledd sydd mewn hedd,
Trwy rinwedd marwol loes,
Efengyl Duw a glyw ein clust,
Trwy Grist fu ar y groes;
Cyhoeddir ini wir ryddhad
Trwy rinwedd gwaed yr Oen,
Mor felus yw hoff air ein Duw
Mae'n puro er ein poen.

**764.** *Gofal Duw am ei bobl...M. S.* (Salm 23.)

YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf;
Mi gaf orwedd mewn porfa fras,
Ar làn dwfr gloywlas araf.

2 Fe goledd f'enaid, ac a'm dwg
'R hyd llwybrau diddrwg cyfion;
Er mwyn ei enw mawr dilys,
Fe'm tywys ar yr union.

3 Pe rhodiwn (nid ofnwn am hyn)
Yn nyffryn cysgod angau;
Wyt gyda mi, a'th nerth, a'th ffon:
On'd tirion ydyw'r arfau?

4 O'th nawdd y daw y doniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd;
A minau a breswyliaf byth
A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd.

**765.** *Hyder ar ras Duw...M. N. 11au.* (Salm 23.)

FY Mugail yw'r Arglwydd, ni bydd arnaf byth
Nac eisiau, na phrinder: caf lawnder dilyth,
Gwna ef i mi orwedd mewn gwelltog borfeydd,
Gerllaw dyfroedd tawel y'm tywys bob dydd.

2 Fe ddychwel fy enaid, fe'm harwain ar hyd
Hardd lwybrau cyfiawnder tra b'wyf yn y byd:
Er mwyn ei wir enw, Ior enwog, y gwna;
Can's mae fy Nuw'n ffyddlon yn dirion a da.

3 Dim niwed nid ofnwn, pe rhodiwn ar hyd
Glyn dwfn cysgod angeu, ni laesai fy mryd;
Can's gyda mi'r ydwyt a'th wialen a'th ffon,
Y rhai a'm cysurant, a'm cadwant yn llòn.

4 Daioni, trugaredd, dilynant fi'n glau
Holl ddyddiau fy mywyd, gan hyfryd barhau:
Yn nhŷ y Jehofa preswyliaf fi byth,
Mewn hedd a chadernid, heb newid fy nyth.

**766.** *Y Bugail da...M. H.* (Salm 23.)

YR Arglwydd yw fy Mugail da,
Cyflawni fy holl eisiau wna;
Ei Air a'i ragluniaethau glân,
Er gwaned wyf, a'm dwg yn mlaen.

2 Mewn porfa iachus, ddilys, dda,
Ymborthi ac ymorphwys ca',
Lle byddo'r dyfroedd tawel byw,
A'r bwyd i gyd dan fendith Duw.

3 Os af o'i ffyrdd, fel dafad ffôl,
Fe ddychwel f'enaid llesg yn ol;
Er mwyn ei drugareddau pur
Fe'm dwg i lwybrau'r union dir.

4 Er rhodio dyffryn angeu du—
Y glyn lle mae gelynion lu,
Nid ofnaf ddim—ni phalla'm ffydd,
Fy Mugail dwyfol yno fydd.

**767.** *Esgyniad Crist...M. N.* 9, 8. (Salm 24.)

CHWI ddrysau tragwyddol, dyrchefwch,
A'r pyrth ymagorwch i gyd;
I dderbyn hardd Frenin gogoniant,
Gorphenodd ei waith yn y byd:
Pwy, pwy ydyw Brenin gogoniant,
Sydd heddyw yn dyfod i mewn?
Yr Arglwydd sydd gadarn mewn rhyfel,
Enillodd y goncwest yn llawn.

2 Mae'n ymdaith o Edom a Bosra,
Mil harddach na thòriad y wawr,
Ein Iesu bendigaid ni ydyw,
Ei gariad a'i allu sydd fawr:
Ar unwaith tynhawyd y tànau,
Ac unol godasant eu llef—
O byrth oll dyrchefwch eich penau,
D'od adre' mae Brenin y nef.

**768.** *Esgyniad Crist...M. H.* (Salm 24.)

O'R bedd cyfodai'n Harglwydd cu,
Esgynodd i'r uchelder fry,
Galluoedd uffern ddygodd ef
Yn gaeth, hyd byrth dysgleirwych nef.

2 Fry, fry, â'i gerbyd heibio'r ser,
Cor-ganu, clywch, angelion Ner,
"Eich penau codwch, byrth y ne',
Chwi, ddrysau oesol, rhoddwch le."

3 Trowch'n ol eich barau eurwych, trowch,
A'r ffordd yn rhydd i'r orsedd rho'wch;
Gwnewch lwybr rhydd hyd drigle'r clod,
Brenin gogoniant 'nawr sy'n d'od.

4 Pwy yw'r Gogoniant Frenin, pwy?
Yr Arglwydd ro'es i angeu glwy';
Gorchfygwr byd ac uffern gref,
Ac Iesu'n wir yw'i enw ef.

5 Fry, fry, â'i gerbyd heibio'r ser,
Cor-ganu, clywch, angelion Ner;
"Eich penau codwch, byrth y ne',
Chwi, ddrysau oesol, rhoddwch le."

6 Pwy yw'r Gogoniant Frenin, pwy?
Crewr nef a llawr, a'u lluoedd hwy;
Pen-angel, dyn, a'r nef ddilyth,
Duw uwch na phawb, bendigaid byth!

**769.** *Dwyfol arweiniad...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 25.)

DUW tirion atat ti,
Fy enaid i sy'n d'od,
O cadw fi fy Ner,
Rhag gw'radwydd er dy glod;
Gelynion fyrdd sydd am fy nghael,
I mi 'n ddiffael, O dysg dy ffyrdd!

2 Yn dy wirionedd di,
O tywys fi fy Nuw!
Dy drugareddau roed,
Erioed i ddynolryw;
Dy ras pan roi, daw'r caeth yn rhydd,
Pechadur sydd, trwy ffydd yn ffoi.

3 I'r gostyngedig wr,
Hyfforddwr ydyw Duw,
Dilea 'mhechod mawr,
Diri' a dirfawr yw,
A ofno Dduw, drwy uniawn ddawn,
Fe'i 'fforddia 'n iawn i'w ffyrdd i fyw.

4 Ei enaid ddydd a nos,
Yn byw mewn diddos sydd,
Fe wel ddirgelion mawr,
Pan doro gwawr y dydd;
Fy llygaid sydd ar Dduw a'm cwyd,
A'm traed o'r rhwyd i rodio 'n rhydd.

**770.** *Hoffi ty Dduw...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 26.)

MI hoffais heb wahan,
Gael trigfan yn dy dŷ,
Lle mae danteithion pêr,
O frasder Canaan fry, ;
Preswylfa Duw sy'n hardd ei drych,
Lle gwelir gwych ogoniant gwiw.

2 O fewn i'r babell hon,
Bendithion i mi dardd,
Lle mae dy gyfraith lân,
Yn gyfan ac yn hardd:
Daeth arwydd gwaed, fy Mhrynwyr gwiw,
Iawn addas yw, yn Iesu wnaed.

3 Doed holl genhedloedd byd
I'th gorlan glyd yn glau,
Ac Israel eto'n ol,
Yn siriol fo'n nesau;
I blith dy saint o fewn i'th lŷs,
A hyn ar frys i'w hynaf fraint.

**771.** *Lle yn nhy Dduw...M. S.* (Salm 27.)

YR Arglwydd yw 'ngoleuni i gyd,
A'm hiechydwriaeth dirion;
Duw yw fy nerth: nid ofnaf oll,
Rhag gallu'm holl elynion.

2 Un arch a erchais ar Dduw Naf,
A hyny a archaf eto;
Cael do'd i dŷ yr Arglwydd glân,
A bod a'm trigfan ynddo.

3 Caf yno roi f'erfyniau o'th flaen,
A'th degwch wela'i'n wastad;
A chlywed traethu d'ewyllys di,
A chenadwri'th gariad.

4 Pan ddel tymhestloedd—(p'le ceir gwell?)
Mae yno babell ddirgel,
Lle cuddia Duw ei blant i gyd,
A'u henaid ddyd yn ddiogel.

**772.** *Gwrandawiad gweddi...M. S.* (Salm 28.)

BENDIGAID fyddo'r Arglwydd nef,
Fe glybu ef fy ngweddi:
Yr Arglwydd yw fy nerth, a'm rhan,
A'm tarian, a'm daioni.

2 F'ymddiriad ynddo ro'is am borth,
A chefais gymhorth ganddo:
Minau o'm calon, drwy fawr chwant,
A ganaf foliant iddo.

3 Yr Arglwydd nef a ddyry nerth,
I bawb o brydferth helynt;
Ac i'w eneinog, enwog wr,
Er iechydwriaeth iddynt.

**773.** *Gwrandawiad gweddi...M. N,* 6, 6, 8. (Salm 28.)

HYD atat, Arglwydd nef,
Dyrchafa'm llef i'r làn
Atolwg, gwrando'n fwyn
Ar gwyn fy enaid gwan;
Fy nghraig na thaw tra bwy'n y byd,
Rho air mewn pryd rhag dygwydd braw.

2 Bendigaid fyddo Duw,
Fe glyw 'ngweddiau'n glau,
Mae'n darian im' a nerth,
Modd prydferth yn parhau;
Ei gymhorth caf mewn adfyd tyn,
O herwydd hyn y llawenhaf.

3 Dy etifeddiaeth fawr,
Bendithia'n awr fy Nuw,
A phortha di dy braidd,
Yn buraidd tra fo'nt byw;
Derchafa hwy â chyfiawn hawl,
I ganu mawl i'th enw mwy.

**774.** *Daioni yr Arglwydd...M. H.* (Salm 30.)

MI a'th fawrygaf, Arglwydd cu,
Pob anhwyl wrth d'orchymyn ffy:
Pwy all ond Duw lefaru hedd,
Ac achub o gyffiniau'r bedd?

2 I'r Arglwydd cenwch saint i gyd,
A thraethwch ei ddaioni i'r byd:
Molwch â phob swydd gyneddf gref
Wrth goffa ei santeiddrwydd ef.

3 Ni saif ei lid ond enyd frau,
Ei hedd sy' fywyd i barhau;
Er treulio'r nos mewn tristwch prudd,
Llawenydd ddwg y seren ddydd.

4 Fy nhafod, tra bo ynof chwyth,
Am d'enw mawr ni thaw ef byth;
Caiff seinio'th glod trwy'r ddae'r a'r nef,
Am faddeu 'mai a gwrando'm llef.

**775.** *Ymddiried yn Nuw...M. S.* (Salm 31.)

MI ymddiriedais ynot, Ner,
Fel na'm gw'radwydder bythoedd:
Duw o'th gyfiawnder, gwared fi,
A chlyw fy nghri hyd nefoedd.

2 Gogwydd dy glust ataf ar frys,
O'th nefol lỳs i waered;
A bydd im' yn graig gadarn siwr,
Yn dŷ a thŵr i'm gwared.

3 Sef fy nghraig wyt a'm castell cryf,
Wyf finau hyf o'th fawredd;
Er mwyn dy enw tywys fi,
Ac arwain i drugaredd.

4 Cymerwch gysur yn Nuw Ion,
Ef a rydd galon ynoch;
Ac os gobeithiwch ynddo Ef,
Ei law yn gref fydd drosoch.

**776.** *Maddeuant pechod...M. S.* (Salm 32.)

Y SAWL sy deilwng, gwyn ei fyd,
Drwy faddeu i gyd ei drosedd;
Ac y cysgodwyd ei holl fai,
Ei bechod, a'i anwiredd.

2 A'r dyn â gwynfyd Duw a'i llwydd,
Ni chyfri'r Arglwydd iddo,
Mo'i gamweddau; yr hwn ni chaed
Dim twyll dichellfrad ynddo.

3 Rhyw loches gadarn wyt i mi,
Rhag ing y'm cedwi'n ffyddlon;
Ac amgylchyni fi ar led
A cherdd ymwared gyson.

4 Chwychwi gyfiawnion tirion, ewch,
A llawenhewch yn hylwydd:
Pob uniawn galon yn ddilyth,
Clodfored byth yr Arglwydd.

**777.** *Blas maddeuant...M. S.* (Salm 32.)

GWYN fyd y rhai dile'st eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd;
Gan roi iddynt nerth er cnawd a byd,
I bara hyd y diwedd.

2 Hir ddysgwyl 'rwyf a hyn bob cam,
Fel gwyliwr am y borau,
Gael profi grym dy nefol ras,
Yn difa'm hatgas feiau.

3 Nid all un gelyn nac un bai
Byth ddamnio'r rhai crediniol:
Mae gwaed yr Oen, ag uchel lef,
O fewn y nef yn eiriol.

**778.** *Lloches a tharian...M. S.* (Salm 32.)

FY lloches glyd, a'm tarian gref
Yw'r Arglwydd nef a'i gysgod;
Gobeithiaf yn ei air er neb,
Yn wyneb pob rhyw drallod.

2 Mae'n gysgod rhag y gwynt a'r gwres
Mae'n lloches rhag y gelyn;
Gobeithiaf yn ei air o hyd
Yn nghanol byd o ddychryn.

3 Ymguddiaf dan ei nodded mwy
A chaf tra b'wy' orfoledd:
Pob chwerw loes a galar dry
Yn ganu yn y diwedd.

**779.** *Llawenhau yn Nuw...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 33.)

Y CHWI rai cyfiawn dewch,
A llawenhewch yn Nuw,
Ei holl weithredoedd llawn,
A'i air mor uniawn yw!
Cydunwn glôd i'w enw glân,
Ar rasol gerdd soniarus gân.

2 O drugareddau Duw,
Tra chyflawn ydyw'r byd,
A'i air a'i Ysbryd ef,
Gwnaed lluoedd nef i gyd;
Wel ofned pawb yr Arglwydd nef,
Trigolion byd arswydant ef.

3 Ein henaid fo mewn hwyl,
    Yn dysgwyl wrth ein Duw,
  Gan rodio ger ei fron,
    Llawenydd calon yw;
A bydded ei drugaredd ef
Fyth arnom ni yn wlith o'r nef.

**780.** *Daioni yr Arglwydd...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 34.)

  BENDITHIAF Dduw yn glau,
    A'i fawl i'm genau fydd,
  I'm henaid yr un wedd,
    Rhyw sain gorfoledd sydd;
Dyrchafwn oll ei enw ef,
I gyd yn llwyr, gan godi'n llef.

2 O profwch bawb yn rhwydd,
    Ddaioni'r Arglwydd nef,
  Gwyn fyd y rhai a fo
    A'u gobaith arno ef;
Nid oes i'w mysg mo'r eisiau mawr,
Eu cofio wna mewn cyfyng awr.

3 Pan lefant arno ef,
    Eu gwaedd o'r nef a glyw,
  Un agos iawn bob pryd,
    I'r drylliog ysbryd yw;
Ni chant na thrais, na chlais, na chlwy',
Nas gŵyr eu Tad i'w gwared hwy.

**781.** *Diogelwch credinwyr...M. S.* (Salm 34.)

DIOLCHAF fi â chalon rwydd,
  I'r Arglwydd bob amserau;
Ei foliant Ef, a'i wir fawrhad,
  Sy'n wastad yn fy ngenau.

2 Wele, y truan a roes lef,
  A Duw o'r nef yn gwrando,
Gwaredodd ef o bob rhyw ddrwg,
  A'i waedd oedd amlwg iddo.

3 Angel ein Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant:
Ceidw ef hwynt, a llawer gwell,
Na chastell yw eu gwarant.

4 O profwch gwelwch mor dda yw
Yr Arglwydd byw i'w eiddo;
A gwyn ei fyd pob dyn a grêd
A rhoi 'i ymddiriad ynddo.

5 Agos iawn yw ein Duw at gur
Y galon bur ddrylliedig;
A da y ceidw ef bob pryd
Yr ysbryd cystuddiedig.

**782.** *Cysuron gras...M. N.* 7, 6. (Salm 35)

O ARGLWYDD grasol cymer
Fy mater yn dy law,
Gan ddadleu fy nadleuon,
A chadw'r trawsion draw;
Llefara air bendigaid,
Wrth fodd fy enaid i,
Fod i mi etifeddiaeth
O'th iechydwriaeth di.

2 Digonol feddyginiaeth
Sy'n iechydwriaeth Duw,
Mae'n siriol a chysurus
I'r ofnus tan ei friw;
Mae nôdd a mawr rinweddau,
Y'ngwirioneddau gras,
Fe wyr yr enaid tyner
Mewn blinder am eu blas.

3 O fewn i'r iechydwriaeth,
Trysorau helaeth sydd,
Cymwysiad iawn o honi,
Sy'n rhoddi'r caeth yn rhydd:

Mae'n cadw rhag yspeilwyr,
Trallodwyr ar y llawr,
Mae'n gweini profiad newydd,
Yn myd y cystudd mawr.

**783.** *Arlwyadau Ty Dduw...M. H.* (Salm 36.)

MOR werthfawr ydyw'th ras, fy Nuw,
Ein gobaith yw a'n cysur ni:
Mewn ing y ffŷ plant Adda wan
Am noddfa dan d'adenydd di.

2 O arlwyadau'th dŷ y cawn
Ein porthi'n llawn â melus wledd;
Trugaredd yno rêd yn lli';
Diodir ni a'th ras a'th hedd.

3 Bywyd, fel ffynon loyw rwydd,
A dardd o wydd ein Harglwydd ni:
Ac yn d'oleuni gwel'd a wnawn
Y gwynfyd llawn addewaist ti.

**784.** *Breuolder bywyd...M. S.* (Salm 39.)

RHODDAIST fy nyddiau fel lled llaw,
I'm heinioes daw byr ddiwedd:
Diau yn d'olwg di, O Dduw,
Fod pob dyn byw yn wagedd.

2 Pan gosbech di am bechod ŵr,
Fe wywa'n siwr ei fawredd
Fel gwyfyn: gwelwn wrth ei lun,
Nad yw pob dyn ond gwagedd.

3 O paid â mi, gad im' gryfhau,
Cyn darfod dyddiau 'mywyd;
O gwna â mi sy'mron fy medd,
Drugaredd a syberwyd.

**785.** *Sefydlu ar y Graig...M. N.* 7, 6. (Salm 40.)

O'R pydew erchyll tomlyd
Cyfodwyd myrdd i maes,
Eu traed ar Graig yr Oesoedd,
Sefydlodd Brenin gras;
Pyrth uffern nis gorchfygant
Sawl safant yma'n gry',
Mae'r Iesu'n Graig ni syflir
Gan ruthr angeu du.

**786.** *Mawl am waredigaeth...M. N.* 9, 8. (Salm 40 )

O'M hamgylch daeth drygau nifeiriol,
Euogrwydd fy mhechod, fel lli',
Can's amlach na 'ngwallt yw fy meiau—
P'odd coda'i fy mhen atat ti?
Boed boddlon it', Arglwydd, fy ngwared,
A deued dy gymhorth i'm rhan;
Töed c'wilydd a gw'radwydd fy ngelyn,
A'i amcan yn erbyn y gwan.

2 Molianned y sawl a dy geisio,
Ac ynot boed hyfryd eu cân;
Mawryger yr Arglwydd daionus,
Ei hen iachawdwriaeth sydd lân;
Na chilied o'u genau d'ogoniant,
Y sawl a dy garant i gyd;
O d'wedant oll fod dy drugaredd
Yn gwared yn rhyfedd o hyd.

3 A minau, sydd dlawd ac anghenus,
Yr Arglwydd daionus a rydd
Ei ras a'i drugaredd i'm cymhorth,
A'i dirion ymwared bob dydd,
Na chuddia dy wyneb oddiwrthyf
Pan lefwyf, O gwrando fy nghwyn,
A danfon ar frys o'r uchelder
Drugaredd yn dyner i'm dwyn.

**787.** *Cofio'r tlawd...M. S.* (Salm 41.)

GWYN fyd a gofio'r truan tlawd,
Pan wêl ei frawd mewn adfyd;
Yn nghadw mae ei wobrwy maith
Yn ngwlad y perffaith fywyd.

2 At un a fo mewn isel fyd,
Dangoswn gyd dosturi;
Y llwm dderbynio o rodd y llawn,
Heb flino gwnawn ddaioni.

3 Nac esgeuluswn, ar un pryd,
Lesâd ein cyd aelodau;
Cyflawni angenrheidiau'r saint
Sy'n anwyl fraint i ninau.

**788.** *Hiraeth am gymdeithas Duw...M. S.* (Salm 42.)

YR un wedd ag y bref yr hydd
Am yr afonydd dyfroedd;
Felly y mae fy hiraeth i
Am danat ti, Dduw'r nefoedd.

2 Fy enaid i sychedig yw
Am fy Nuw byw, a'i gariad:
Pa bryd y dof fi ger dy fron,
Fy Nuw a'm cyfion Ynad?

3 Fy Naf a roes y dydd im' hedd,
A'r nos gyfanedd ganu,
I ganmol fy Nuw, hwn a roes
Im' einioes i'w folianu.

**789.** *Ymbil am waredigaeth...M. N. 7, 6.* (Salm 43.)

O ARGLWYDD bydd yn Farnwr,
Ac yn Waredwr im',
Rhag fy ngelynion creulon,
A minau yn ddirym;
Goleuni dy wirionedd
A fo f'arweinydd i,
O fewn i fynydd Sïon,
Dy dirion babell di.

2 Rhof ar dy allor felly,
  Yn rhwyddgu aberth rhodd,
Datganaf it' ogoniant,
  Mewn moliant wrth fy modd;
Hyfrydwch fy ngorfoledd,
  O fewn i'th gyntedd fyw,
A chael mawrygu'n rhagor,
  Wrth allor bur fy Nuw.

3 Fy enaid na therfysga,
  Gobeithia'n Nuw bob awr,
Prysured dwyfol haeddiant,
  Gael llwyddiant ar y llawr;
Aed sôn am Grist yn gyhoedd,
  Tros gefn y moroedd maith,
A bydded mawr sirioldeb
  Ei wyneb ar ei waith.

**790.** *Gwaredigaeth yn Nuw...M. N.* 7, 6. (Salm 44.)

MYNEGWYD gan ein tadau,
  I'n clustiau daeth y clyw,
Weithredoedd mawr ardderchog,
  Godidog wnaeth ein Duw;
Sef planu a chynyddu
  Ei eglwys wiwgu wawr,
Gan dori ei gelynion
  Yn llwyrion hyd y llawr.

2 Ti ydyw Brenin Isr'el,
  Goruchel yw dy waith,
Ti yw'n Iachawdwr cyhoedd,
  Yn mhob rhyw drallod maith;
Mae genyt fawr ymwared,
  Ti yw ein nodded ni,
Ac ynot yr ymffrostiwn,
  Bob dydd clodforwn di.

3 Yn nhrigfa drwg y dreigiau,
Heb amau'r ŷm yn bod,
O deffro, pa'm y cysgi?
Dy wyneb ini dod;
I'n cynorthwyo cyfod,
Iôr hynod, ar ein rhan,
Son am dy waith yn arbed,
Sy'n myned trwy bob man.

**791.** *Crist a'i eglwys... M. H.* (Salm 45.)

BRENIN y saint, mor deg ei bryd!
Mawrhydi a gras mae'n wisgo i gyd;
Daw â bendithion oddifry
I enill serch cenedloedd lu.

2 Ar ei ddeheulaw gwel'd a gair,
Ei eglwys gu mewn gwisg o aur;
Rhyfedda'r byd ei nefol ddrych
Mewn harddwisg o gyfiawnder gwych.

3 Y Brenin lawenhâ drwy serch,
Yn ei ddewisol Briod ferch;
Câr dithau Ef, dod iddo'r bri,
Dy Briod yw, a'th Arglwydd di.

4 O ddedwydd awr pan gyrcho ef
Di i'w frenin-llys yn y nef;
Cawn foli yno'n llon hyd byth
Ostyngiad mawr ei ras dilyth.

**792.** *Gwrando, ferch... M. N.* 8, 7. (Salm 45.)

GWRANDO, ferch, ar dy Anwylyd,
Yn dy alw o dy wlad,
Tyr'd anghofia'th hen gariadau,
A phleserau tŷ dy dad;
Ffarwel rho i bob creadur
Welir yma dan y nef,
Dos ar ol dy Briod Iesu,
Cei bob gwynfyd gydag ef.

2 Ffarwel bellach, hen gyfeillion,
Af yn awr, na rwystrwch fi,
Mae fy nghyfoeth a'm llawenydd,
A'm pleserau goreu fry;
Nid oes i mi fan yn gartre',
Ond y fan mae'm Prynwr mawr;
Lle mae ef mae'm calon inau
Am gartrefu uwch y llawr.

**793.** *Hyder yn nawdd Duw...M. H.* 6 *llin.* (Salm 46.)

DUW yw fy nerth a'm noddfa lawn,
Mewn cyfyngderau creulawn iawn;
Pan alwom arno mae gerllaw;
Ped âi'r mynyddoedd mwya' i'r môr,
Pe chwalai'r ddaear fawr a'i stôr,
Nid ofna f'enaid i ddim braw.

2 A phe doi'r moroedd dros y byd,
Yn genllif fawr ryferthwy i gyd,
Nes soddi'r bryniau fel o'r blaen:
Mae afon bur i lawenhau,
A'i ffrydiau, ddinas Duw'n ddi drai,
Preswylfa'i saint, ei babell lân.

3 A Duw sydd yno yn eu plith,
Ni ysgogir un o honynt byth:
Fe'u cymhorth hwy yn fore iawn:
Y bore byddo mwy na mwy
O bob gwasgfeuon arnynt hwy,
Cair gwel'd'i addewid Ef yn llawn.

**794.** *Noddfa Sion...M. H.* (Salm 46.)

DUW ydyw noddfa'r saint a'u grym,
Pan ddel tymhestloedd adfyd llym;
Cyn gallant draethu wrtho'u cwyn,
Bydd ef gerllaw â'i gymhorth mwyn.

2 Pe treiglai brvniau'r byd o'r bron
I lawr i'r dyfnder dan y don,
Pe siglai seiliau dyfna'r byd,—
Yn Nuw hyderwn yn ddigryd.

3 Mae afon bur a'i ffrydiau byw
Ddiwalla ddeiliaid dinas Duw;
Llawenydd, cariad, bywyd llon,
A lifant drwy aneddau hon.

## 795. *Afon dinas Duw...M. C.* (Salm 46.)

MAE afon bur o ddyfroedd byw
A'i gloyw ffrydiau hi,
A lawenhant hardd ddinas Duw,
Mor uchel yw ei bri!

2 Preswylfa y Goruchaf Un
Yw Salem, enwog dre',
Hon yw ei gysegr ef ei hun,
Ei hoff ddewisol le.

3 Ac yn ei chanol mae Duw'r nef,
Nid ysgog Sïon lawn;
Ei chynorthwyo a wna ef,
A hyny'n fore iawn.

## 796. *Hyder yn Nuw...M. N.* 9, 8. (Salm 46.)

EIN noddfa, ein nerth, ein cadernid,
Un agos mewn adfyd yw'n Nêr;
Nid ofnwn am hyn, pe symudai
Holl gylchoedd y ddaear a'r sêr;
Pe treiglid i'r môr y mynyddoedd,
Cadernid holl luoedd y llawr,
Duw Abra'm, Duw Isaac ac Israel,
Yw'm digon dyogel yn awr.

2 Er rhuo o'r môr, a therfysgu,
Er crynu'r mynyddoedd yn nghyd,
O Sïon, pryd hyn gorfoledda,
A'th olwg ar bethau cyn byd:
Mae afon, a'i ffrydiau rhinweddol
Llawenydd tragwyddol a chân
A ddwg hi i'r gwir ddinasyddion,
Pan êl y greadigaeth yn dân.

**797.** *Llywodraeth Duw...M. N.* 9, 8. (Salm 47.)

I FOLI Duw uchod ar gyhoedd,
Dewch luoedd holl bobloedd y byd,
Mewn parchus wir felus orfoledd,
A llafar gynghanedd yn nghyd;
Rho'wn foliant gogoniant ar gynydd,
I'r Arglwydd Dduw beunydd bob awr,
Sydd Frenin mawr byth yn dragywydd,
A Llywydd uwch nefoedd a llawr.

2 Sain udgorn dyrchafwn yn llafar,
Can's Brenin trwy'n daear yw Duw,
Teyrnasa ar bob rhyw genedlaeth,
Ei uniawn lywodraeth ef yw;
A chan mai fe bia'r deyrnwialen,
Fe ddylai Duw'n perchen gael parch,
I'w ddeiliaid rhydd freintiau goruchel,
Ei babell ddyogel a'i arch.

3 Ar uchel orseddfa'i sancteiddrwydd,
Teyrnasu mae'n hylwydd o hyd,
Yn Frenin uwch gwreiddyn pob graddau,
Ar bob cenedlaethau trwy'r byd;
Dyrchafwn ei enw daionus,
Gan blygu modd parchus i'n Pen,
Yn ffyddlawn wir ddeiliaid arddelwn,
A molwn ein Brenin, Amen.

**798.** *"Dinas wych."..M. S.* (Salm 48.)

MAE eglwys Dduw fel dinas wych,
Yn deg i edrych arni;
Ei sail sydd berl godidog iawn,
A'i mur o ddawnus feini.

2 Rhodiwn o gylch Caersalem bur,
Gan draethu'i heglur degwch;
Ystyriwn ei rhagfuriau drud,
Hardd, nerthol, a'i phrydferthwch.

3 Awn drwy'r heolydd aur ar frys,
I'r hynod lys brenhinol,
Lle gwelir mewn gogoniant mawr
Yr Iesu gwerthfawr grasol.

4 Llawenydd yr holl ddaear hon
Yw mynydd Sïon sanctaidd;
Preswylfa anwyl Brenin nef
Yw Salem efengylaidd.

5 Ni glywsom ogoneddus air
I'r ddinas ddysglaer lonydd;
A phethau mawrion yn ddïos
Wnaeth Duw dros Sïon ddedwydd.

6 Gwynfyd ei dinasyddion sydd
Yn rhodio'n rhydd ar hyd-ddi;
Y nefol fraint i minau rho,
O Dduw, i drigo ynddi.

**799.** *Tegwch Sion...M. N.* 9, 8. (Salm 48.)

MAWR iawn ydyw'r Arglwydd yn Sïon,
A'i foliant yn gyson i'w gael;
Yn Ninas ein Nêr, lle mynegir
Sancteiddrwydd dy enw, Dduw hael;
Ti, Sïon, yw tegwch y gwledydd,
Llawenydd y ddaear i gyd;
Ond cyfoeth a braint ei thrigolion,
Ni wel tywysogion y byd.

2 O'r Gogledd i'r De y mynegir,
Datgenir hyd derfyn y wawr,
Ogoniant y ddinas a'i Brenin,
A'r llwyddiant a ddilyn fydd mawr;
Can's Duw yn ei ph'lasau adwaenir,
A'i enw mynegir drwy'r byd,
Yn noddfa dragwyddol i'r euog,
A chyfoeth angenog yn nghyd.

**800.** *Y Barnwr yn dyfod... Y 50ain Newydd.* (S. 50.)

DUW y gogoniant enfyn allan wys,
O'r De i'r Gogledd geilw bobl ar frys;
O'r Dwyrain i'r Gorllewin bloedd a ro'ir,
Trwy'r bydoedd oll, y meirw a ddeffroir;
Atheistiaid mwy yn gwawdio'i oed ni bydd,
A'i ddial mwy ni chwsg, can's wele'r dydd.

2 Disgyn mae'r Barnwr, a'i holl lu gerllaw,
A thân a thymhestl gydag ef a ddaw;
Nef, dae'r, ac uffern, a phob peth nesewch,
A'i gyfiawn farn ar ddynion drwg gwrandewch:
Ond cesglwch, meddai ef, yn gynta'm saint,
Angylion, dygwch hwy o bob lle maent.

3 Wele 'nghyfamod byth yn siwr a wnaed
Trwy'r bythol aberth, seiliwyd hwn â gwaed;
A seiniwyd ef âg enwau'r saint bob oes,
Iuddewon, Groegiaid, dim gwahan nid oes:
Eu gorseddfeydd eu tanu'n ebrwydd gwnewch,
Fy mhlant a'm ffryns yn agos im' cyflewch:

4 Mi yw eu Ceidwad, a'u galluog Dduw,
A'u Barnwr wyf, a hyn eu cysur yw:
Cyhoedded nef fy ngwirioneddau i maes,
A'm cyfiawn farn ar bechaduriaid cas;
Yn Sïon cryned dynion drwg o'm blaen,
Rhagrithwyr barnaf, â'u holl dwyll i'r tân.

5 O bechaduriaid, byddwch ddoeth yn awr,
Deffrowch cyn d'od y dydd ofnadwy mawr;
Newidiwch eich meddyliau a gwellhewch,
Ffowch at y Barnwr, ef yn gyfaill gwnewch,
Rhag iddo rwygo'ch enaid prudd mewn braw
Fel llew, heb neb i'ch gwared chwi o'i law.

**801.** *Gweddi yr edifeiriol...M. B. C.* (Salm 51.)

TRUGAREDD dod i mi,
Duw o'th ddaioni tyner;
Ac ymaith tyn fy anwiredd mau,
O'th drugareddau lawer.

2 Ag isop golch fi'n lân;
Ni byddaf aflan mwyach;
Byddaf fi o'm golchi fel hyn,
Fel eira gwyn neu wynach.

3 Duw, crëa galon bur,
Dod imi gysur beunydd;
I fyw yn well tra fwy'n y byd,
Dod ynof ysbryd newydd.

4 Na fwrw fi, mewn gwg,
Yn llwyr o'th olwg allan;
Ac na chymer dy Ysbryd Glân
Oddiwrthyf, druan egwan.

**802.** *Gweddi yr edifeiriol...M. H.* (Salm 51.)

RHYW werthfawr drysor maith diri',
Sydd yn dy dosturiaethau di;
O Arglwydd nef, erglyw fi'n awr,
Gan lwyr ddileu fy meiau mawr.

2 Golch fi, O Dduw, golch fi'n llwyr ddwys,
Oddiwrth y beiau mawr eu pwys;
Y mawr ddrwg hyn yn d'erbyn di,
Mewn buchedd wael a bechais i.

3 Fy llunio mewn anwiredd wnaed,
Nid oes a'm golcha'i ond y gwaed;
Gwirionedd oddi mewn, O moes,
Trwy nawdd a grym rhinweddau'r groes.

4 A chalon newydd tan dy nôd,
Ac ysbryd uniawn ynwyf dod;
A phrawf drachefn o drefn rhad ras,
Yn maeddu grym fy llygredd cas.

5 O gwna ddaioni mawr, O Dduw,
Yn dy ewyllysgarwch gwiw:
Gan roi dy wedd lle mae dy waith,
Trwy'r byd i gyd, pob gwlad ac iaith.

**803.** *Ymddiried yn Nuw...M. S.* (Salm 57.)

DY ras, dy nawdd, fy Nuw, im' dod,
Sef ynot ymddiriedaf;
Nes myned heibio'r aflwydd hyn,
Dan d' edyn ymgysgodaf.

2 Ymddiriad f'enaid ar Dduw sydd,
Ar Dduw trwy ffydd y galwaf:
Ef a gyflawna'i air yn iawn,
Can's cyfiawn yw'r Goruchaf.

3 Ymddyrcha, Dduw y nef uwchlaw,
Oddiyno daw d'arwyddion;
A bydded dy ogoniant ar
Y ddaear a'i thrigolion.

**804.** *Ymbil am nawdd Duw...M. S.* (Salm 61.)

ERGLYW, O Dduw, fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando:
Rhof lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

2 Dwg fi i dal-graig uwch na mi,
  Ac iddi bydd i'm derbyn;
Can's craig o obaith, tŵr difost
  I'm fuost rhag y gelyn.

3 O fewn dy babell y bydd byth,
  Fy nhrigfan ddilyth ddedwydd;
A'm holl ymddiriad a fyn fod
  Yn nghysgod dy adenydd.

4 Fel hyny y moliannaf fi
  Dy enw di'n dragywydd:
Ac felly peri i mi gwblhau
  Fy addunedau beunydd.

**805.** *Dysgwyl wrth Dduw...M. S.* (Salm 62.)

FY unig Dduw ydyw fy mhlaid,
  Mae f'enaid yn ei ddysgwyl;
O hono ef, a thrwy ei rym,
  Daw iechyd im' o'm hanhwyl.

2 Yn Nuw yn unig mae i gyd,
  Fy iechyd a'm gogoniant;
Fy Nghraig yw, a'm Cadernid maith,
  A'm gobaith yn ddilysiant.

3 Gobeithiwch ynddo ger ei fron
  Tywelltwch galon berffaith;
Ac ymddiriedwch tra f'och byw,
  A d'wedwch, Duw yw 'ngobaith.

**806.** *Duw yn ei gynteddoedd...M. N.* 8, 7. (Salm 63.)

YN yr anial sych blinedig,
  F'enaid gwan sychedig yw,
Hiraeth sydd am bresenoldeb,
  Hawddgar dirion gwyneb Duw;
Gwel'd gogoniant y Sheceina,
  'Nhy Jehofa mawr ei hun,
Lle mae'r gwaed a ddichon olchi,
  A chymodi Duw â dyn.

2 Golwg ar y drugareddfa,
Unig fan taenellfa'r gwaed,
Hyn yw bywyd y credadyn,
Iawn i'r gofyn yno gaed;
Am gael modd i glirio'r llyfrau,
Rho'f o'm genau foliant gwiw,
Ac a dreuliaf ddyddiau 'mywyd,
Fyth yn hyfryd waith fy Nuw.

3 Yn dy eglwys lân fendigaid,
Y digonir f'enaid i,
Gwir odiaethol bêr ddanteithion,
Sy'n dy dirion wleddoedd di;
Wrth fyfyrio am dy fawredd,
Daw gorfoledd yn y fan,
Mi 'mddiriedaf dan dy gysgod,
Yn dy law caf dd'od i'r làn.

**807.** *Mawl yn Sion...M. H. 6 llin.* (Salm 65.)

BYDD mawl yn Sïon i barhau,
I enw'r hwn sy'n trugarhau,
Mae'n deilwng iddo gael y clod;
Ei ryfeddodau'n Sion sydd. [ffydd?
Pwy'n gwel? pwy'n prawf ond perchen
Ei fawl a bery'n hwy na'r rhôd.

4 Am hyny canwn yma'n gu
Wir fawl i'n Duw o fewn ei dŷ,
Fel llawen lu wrth godi'r arch;
Y gwr fu dan yr hoelion dur,
Oen diddig hardd yn dyoddef cur,
I'w enw pur y byddo'r parch.

3 Bydd mawl yn Sïon am ryddhad,
A mawl yn un am gyfiwnhad,
A mawl am godi'r meirw'n fyw;
Bydd mawl am wisgo'r noeth yn nghyd,
A mawl am olchi'r brwnt'r un pryd—
Mawl byth i'r Oen, can's teilwng yw.

4 O moler ef am ddod i'r cnawd,
A moler ef am dd'od yn dlawd;
Fe lyncodd angeu ar y groes.
O! moler ef am rwygo'r llen;
O! moler byth, efe sydd ben,
A chofiwn am ei ddwyfol loes.

**808.** *Mawl yn Sion...M. N.* 8, 7. (Salm 65.)

MAWL yn d'aros sydd yn Sïon,
Gan dy weision gyd â'th waith,
Ti yw'r hwn sy'n gwrando gweddi,
Pan f'ont mewn caledi maith;
Er cael rhai codymau trymion,
Y mae ffynon i'w glanhau,
Gwynfydedig yw'r trigolion,
Gant i Sïon wir nesâu.

2 'N dy gynteddeu teg y trigant,
Yno byddant yn eu byw,
Cyfaneddant yno'n addas,
O fewn caerau dinas Duw;
Yno cânt eu llwyr ddigoni,
A'r daioni sy'n dy dŷ,
A diferion i'w difyru,
Ffrwythau cariad Iesu cû.

3 Gwna i derfyn hwyr a borau,
A'r wybrenau lawenhau,
Môr-yr eigion yn ymrwygo,
I gael gwlitho'r tir yn glau;
Dyfrhau 'chefnau, gostwng rhychau,
Darpariadau Duw'n eu pryd,
'Nghanol barnau mae trugaredd,
A gwên ryfedd ar y byd.

**809.** *Gweithredoedd Duw...M .S.* (Salm 66.)

YN Nuw ymlawenhewch i gyd,
Yr hollfyd, a dadgenwch,
Ogoniant 'i enw hyd y nef,
A'i foliant gref a draethwch.

2 O dewch, edrychwch, ofnus yw,
Gweithredoedd ein Duw cyfion:
Ofn ei weithredoedd a rydd ddysg
Yn mysg holl feibion dynion.

3 O bobloedd molwch Dduw ar gais
A moeswch lais ei foliant:
Hwn sy'n dal bywyd yn y gwaed,
A ddeil ein traed na lithrant.

**810.** *Gwaredigaeth...M. N.* 8, 7. (Salm 66.)

LLAWEN floeddiwch, uchel genwch,
Moliant rhoddwch bawb yn rhwydd,
At Dduw'n isel oll cyd nes'wch,
Clod mynegwch yn ei ŵydd;
Mawl i'w enw mawr haelionus,
Rho'wch drwy ddawnus uniawn ddysg
Gan ryfeddu ei weithredoedd,
Tir a moroedd yn ein mysg.

2 Pan oedd Israel rhwyng y creigiau,
'N wylo'r dagrau'n alar du,
Môr o'u blaenau, llu o'u holau,
Cyfyngderau mawr bob tu:
Iachawdwriaeth hyfryd wawriodd,
Cadarn fodd i'w cadw'n fyw,
Pawb a'i fywyd yn ddiangol,
Yno'n dêg yn canmol Duw.

3 Pan draddodir gair y cymod,
Dan awdurdod fawr y nef,
Duw'n ymweled â phechadur,
Yn ei lwybr grasol ef;

Dysgwyl myn'd i uffern danbaid,
Pan ddaw'r enaid marw'n fyw,
Nes cael gweled Iesu'n gwaedu,
Yna dechreu canmol Duw.

**811.** *Tiriondeb Rhagluniaeth...M. H.* (Salm 68.)

MAWR yw yr Ion, mawr yw ei waith,
Anfeidrol yw ei foliant maith;
Y llariaidd a wobrwya'n fawr,
Ond gostwng mae y balch i lawr.

2 I'r tlawd rhydd fara yn ddilai,
A gweryd orthrymedig rai;
Rhydd borth i'r weddw wan wrth raid,
Ac i'r amddifaid bydd yn blaid.

3 Y flin gydwybod esmwythâ,
A'r carcharorion fe'u rhyddha;
Edwyn ei saint, fe'u câr yn gu,
A dwg hwy'n iach i'w lysoedd fry.

**812.** *Heddwch...M. N.* 7, 6. (Salm 68.)

O DDUW, cerydda'r dyrfa
A'u syched sydd am waed,
Gwasgara garwyr rhyfel,
Rho heddwch fyth i'n gwlad,
Darfydded son am ryfel,
Dros wyneb daear las,
Gorchfyga'r ddaear lidiog
A chleddyf dwyfol ras.

2 Pa hyd ca'r cledd llofruddiog
Fod mewn fath lidiog fri?
Ac angeu dig gael gwledda
Mewn brwydrau chwerwon sy?
Duw, cofia blant y ddaear,
Mewn galar prudd mae rhai'n,
A gyr y cledd dinystriol
'N ol i'w heddychol wain.

**813.** *Tad yr amddifaid...M. N.* 6, 4, 8, 7. (Salm 68.)

CYFRANWR, Rhoddwr hael,
Wrth raid i'r gweiniaid gwael,
Yw'r Arglwydd Ior,
O'i drysor mawr didraul;
Tad addfwyn i'r amddifaid ryw,
A Barnwr gweddwon union yw,
Cynorthwy hawdd i dlodion,
Yn dirion ydyw Duw.

**814.** *Dyoddefaint y Messiah,..M. N.* 8, 7. (Salm 69.)

CLYWAI'R Iesu tan y dial,
'N gwaeddi'n ddyfal ar ei Dduw,
Bron a soddi tan drallodion,
Llid gelynion o bob rhyw;
Byd ac uffern tan eu harfau,
Cryfder angeu gyd â'r bedd,
A chyfiawnder dwyfol yno,
Yn ei glwyfo â mîn y clêdd.

2 C'wilydd, gw'radwydd mawr a phoeredd,
Gwarth a dialedd yn ei doi,
Gan ei frodyr'r oedd yn estron,
A'i ddysgyblion gwedi ffoi;
Sêl tŷ'r Arglwydd yn ei ysu,
Para i barchu deddf y nef,
Sathru'r cafnau gwin ei hunan,
Neb o unman gyd ag ef.

3 Cwpan lawn o ddiod chewrw,
Ga'dd wrth farw ar y groes,
Heb un dafn o gysur ynddi,
I felysu angeu loes;
Bustl, wermod, melldith pechod,
Pwysau dyrnod mawr ei Dad,
Benthyg bedd a ga'dd i orwedd,
Er ein hedd a'n cyfiawnhad.

4 Ffordd a wnaed trwy waed yr Iesu,
I ddedwyddu Sïon wan,
Yn llaw'r Gwr fu dan yr hoelion,
O'i dyledion daw i'r làn:
Gwelir myrdd o garcharorion,
Yn rhoi'r goron ar ei ben,
I'w Iôr grymus yr ymgrymant,
A chanmolant Grist, Amen.

**715.** *Y Cristion oedranus...M. S.* (Salm 71.)

DUW, bydd yn graig o nerth i mi,
I gyrchu ati'n wastad;
A phâr fy nghadw i yn well,
Ti yw fy nghastell caead.

2 Nac esgeulusa fi a'm braint
Yn amser henaint egwan;
Er pallu'm nerth, cryfha fy ffydd,
Hyd ddiwedd dydd fy oedran.

3 Fy ngobaith inau a saif byth
Yn ddilyth a safadwy;
Ymddiried ynot, Dduw, a wnaf,
Ac a'th foliannaf fwyfwy.

**816.** *Teyrnas Crist...M. H.* (Salm 72.)

DUW mawr! i'th ben-llywodraeth mae
Y bydoedd oll yn ufuddhau;
Y deyrnas dod i'th Fab yn awr,
Mewn nerth sefydla'i orsedd fawr.

2 Ei ras ar lesg eneidiau ddaw,
Fel gwlith ar fryniau sychion draw;
A phery ei addoliad ef
Tra pery dyddiau dan y nef.

3 Y gwledydd digred oll y sydd
Dan dywyll gysgod angeu prudd;
Pan wawrio arnynt, adfywhant;
A'r lleoedd anial lawenhant.

4 Hedd o'i orseddfainc red fel lli'
I bobloedd nad adwaenom ni;
A'r saint flodeuant yn ei ddydd,
Mawl a llawenydd eiddynt fydd.

**817.** *Bendithion yr efengyl...M. N.* 9, 8. (Salm 72.)

BENDITHIR yr Arglwydd a'i nerthoedd,
Fe wna i'r mynyddoedd ddwyn hedd,
A'r bryniau a ffrwythant gyfiawnder,
O herwydd graslonder ei wedd:
Fe ddisgyn fel gwlith o'r uchelder,
Ei fendith a'i fwynder i fyw;
A derfydd gorthrymder a rhyfel,
Molianned holl Israel eu Duw.

2 O'i flaen yr ymgryma'r trigolion,
A llŷf ei elynion y llawr;
Moliennwch yr Oen a fu farw,
Ceir gweled mai hwnw fydd mawr;
Brenhinoedd o Tarsis a Seba,
A ddygant anrhegion yn nghyd:
Ymgrymant ger bron y Gwaredwr,
Addolant Iachawdwr y byd.

3 Mae'n arbed y tlawd a'r anghenus,
Mae'n achub y rheidus yn rhad,
A'r clwyfus a gân yn dragwyddol,
Am brôfi rhinweddol iachad;
Fe wared eu henaid rhag trawsder,
Ceir gweled mai gwerthfawr eu gwaed,
Yr Arglwydd sydd deilwng o'r mawredd,
I'r unig ymgeledd a gaed.

4 Byw hefyd a fydd ein Gwaredwr,
Fe ddaeth yn Iachawdwr i'r gwael;
O Seba daw aur ac anrhegion,
Mae'n deilwng i'r Cyfion eu cael;
Mawrygir yr Arglwydd trwy'r gwledydd,
Ei enw fydd beunydd yn ben;
Ni dderfydd ei glod pan ddarfyddo
Yr haul a goleuo'n y nen.

**818.** *Teyrnasiad y Messiah...M. H.* (Salm 72.)

YR Iesu a deyrnasa'n grwn
O godiad haul hyd fachlud hwn;
Ei deyrnas â o fôr i fôr,
Tra pery llewyrch haul a lloer.

2 Teyrnasoedd, pobloedd o bob iaith,
I'w gariad roddant foliant faith,
Babanod ieuainc llesg eu llef
Yn foreu a'i clodforant ef.

3 Lle y teyrnaso bendith fydd,
Y caeth a naid o'i rwymau'n rhydd;
Y rheidus oll gânt gymhorth rhad,
A'r blin gaiff fythol esmwythâd.

4 Yn arogl pêr ei enw ef,
Gweddiau godant hyd y nef;
Ei fawl ddyrchefir hyd y nen,
Coronau fyrdd fydd ar ei ben.

**819.** *Duw ein rhan...M. H.* (Salm 73.)

DUW, f'einioes a'm cynaliwr drud
Fy mhlaid a'm gobaith wyt o hyd:
Pan anobeithiodd f' enaid gwan,
Dy fraich a'm daliodd i i'r làn.

2 A'th gynghor y'm harweini o hyd
Trwy anial dyrus maith y byd;
A'th law a'm dwg i'r nefoedd fry,
I fyw gerbron dy wyneb cu.

3 Pe cawn y nefoedd hebot ti,
Ni roddai hyny hedd i mi:
Ac ar y ddaear tra b'wyf byw,
Ni cheisiaf neb ond ti fy Nuw.

4 Pe tòrai edau f'einioes frau
A'm cnawd a'm calon lwyr-wanhâu
Duw ydyw Craig fy enaid gwan
A nerth pob sant a'i fythol ran.

**820.** *Llef am adferiad...M. H.* 6 *llin.* (Salm 74.)

O ARGLWYDD, cyfod tor y wawr,
Ar d'achos mae yn nos yn awr,
A swyn y gelyn mawr yn gry';
O galw Sion i ddeffroi,
O'i chlaerineb sy'n ei chloi,
I 'mbarotoi at fur y tŷ.

2 Fel pen saer celfydd goreu erioed,
Cwyd fwyall yn y dyrus goed,
Tan warth fe roed dy werthfawr fraint;
Ac oni chawn dy wyneb di,
Yn ofer y llafuriwn ni,
Dy wyneb sy'n sirioli'r saint.

3 Dy Sion brudd sy'n awr mewn braw,
Duw o dy fynwes tyn dy law,
A help a ddaw yn ebrwydd iawn:
Bydd eto'n Llywydd gyd â'n llu,
Gan roi dy degwch yn dy dŷ,
O'th nerthoedd cû cynorthwy gawn.

**821.** *Hynodrwydd Duw...M. N.* 6 *llin.* (Salm 76 )

Yn Juda hynod yw Duw nef,
A mawr yn Israel ydyw ef,
Ei law sydd gref o blaid y gwan;
Ei babell ef yn Salem sydd,
Yn Sion ber ei drigfan bydd,
Cynorthwy rhydd yn nerth i'w rhan.

2 Mae'n wir fod dwys gynddaredd dyn,
Weithiau yn glod i Dduw ei hun,
Fel Pharao'n un offeryn oedd;
Ond Duw a'i rhoes mewn dyfnder hyll,
Am chwarau'n ddwys mewn chwerw ddull,
Gan wahardd gweddill dig ar g'oedd.

3 Chwi bererinion sy'n parhau,
Wrth orsedd gras yn glynu'n glau,
Gwnewch addunedau i Dduw nef;
Gan dalu'n llwyr eich dyled llawn,
I gynal achos Crist yn iawn,
Yn ol ei 'w'yllys cyfiawn ef.

**822.** *Llef mewn blinder...M. S.* (Salm 77.)

FY llais at Dduw, pan roddais lef,
Fy llais o'r nef fe'i clybu;
A'm llais gweddïais ar Dduw Ner,
Pan oedd blinder yn tarddu.

2 Dy waith, O Dduw, coffhâf yn rhwydd,
A'th wyrthiau hylwydd cofiaf;
Am bob rhyfeddod a phob gwaith,
A myfyr maith y traethaf.

3 Dy lwybrau ynt mewn moroedd fyrdd,
A'th ffyrdd mewn dyfroedd mawrion;
Ni adwaenir fyth mo'th ôl, fy Nuw,
Anfeidrol yw d'arwyddion.

**823.** *Addysgu plant...M. S.* (Salm 78.)

GWRANDAWED plant, y gwyrthiau gwiw,
A wnaeth ein Duw'n y cynfyd;
Rhai welsom ni'n ein hie'nctid brau,
A rhai fu'n tadau'n dd'wedyd.

2 Gorch'mynodd i ni draethu 'i glod,
A'i hynod ras a'i allu;
A'i wyrthiau ddygwn ninau i lawr
I'r oes sy'n awr yn codi.

3 Ein tafod a'u mynega i'n plant,
A'n plant a'u traethant eilwaith:
Y tad i'r mab, a'r mab i'r ŵyr,
Olynol drwy'r genhedlaeth.

4 Fel hyn y dysgir hwy bob rhyw
I garu Duw yn union;
Fel nac anghofiont byth mo'i waith,
Ond gwneyd ei berffaith eirchion.

**824.** *Ty Dduw...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 84.)

ARGLWYDD y bydoedd fry,
Mor deg a hawddgar yw
Trigfanau'th gariad cu,
Daearol demlau'm Duw:
Boed tynfa f'enaid tua'th dŷ,
Fy Nuw, i wel'd dy wyneb cû.

2 Hoff gan aderyn tô
Gael yno i'w gywion le;
A'r wenol ar ei thro,
Hiraetha am ei thre':
Boed sêl fy enaid i'r un faint,
Am gael preswylio 'mhlith dy saint.

3 Gwyn fyd y dynion fo'n
Gweddio yn y lle
Mae Duw yn gwrando'i blant,
Yn wastad molant E';
A dedwydd ydynt hwy'r pryd hyn,
Sy'n hoffi'r ffordd i Sïon fryn.

4 O nerth i nerth â rhai'n
Trwy lŷn wylofain du,
Nes delont bawb ger bron
Eu Duw yn Sïon fry:
O hyfryd fan, pan ddygo ef
Ei blant i gyd o'r byd i'r nef!

5 Cael treulio sanctaidd ddydd
Lle byddo Duw a'i saint,
Llawenydd gwell a rydd
Na mil mewn bydol fraint:
Gwell yw cael cadw drws o hyd,
Lle dêl fy Nuw, na ph'lasau'r byd.

**825.** *Pabell yr Arglwydd...M. H.* (Salm 84.)

MOR hardd, mor deg, mor hyfryd yw
Dy babell sanctaidd di, O Dduw!
Mor loyw y dyscleiria hi,
Gan lewyrch dy wynebpryd di!

2 Rhagori mae ei chywrain waith,
Ar holl balasau'r ddaear faith;
A'r nef a edrych oddidraw
Ar adail lân dy ddwyfol law.

3 Pan welom yno'th anwyl wedd,
Pan brofom yno'th hyfryd hedd,
Cyd floeddio wnawn ar lawen lef,
"Ti'n dygaist ni i borth y nef."

4 Mae un diwrnod yn dy dŷ,
Dan dirion wên dy wyneb cu,
Yn well na mil yn ngwleddau'r ffôl
Sy'n gadael chwerwder blin ar ol.

5 Rho i ni'r fraint o'th wel'd ar frys,
O fewn dy lân fendigaid lys;
Prydferthwch mwya'th babell yw,
Dy bresenoldeb di, ein Duw.

**826.** *Ty Dduw...M. S.* (Salm 84.)

DY babell di, mor hyfryd yw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd:
Mynych chwenychais weled hon,
Gan mor dra thirion ydoedd.

2 Gwynfyd y rhai drig yn dy dŷ,
Cânt dy folianu ddigon;
Cânt ynot ti ymgadarnhau,
A'th lwybrau yn eu calon.

3 Y rhai a blanwyd yn nhŷ Dduw
Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac yn nghynteddau ein Duw ni
Y rhei'ny a flodeuant.

4 Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth,
Nes cael yn brydferth ddyfod,
Fry i ymddangos ger ei fron,
Yn Sïon ei breswylfod.

**827.** *Gras a gwirionedd...M. N.* 11, 12. (Salm 85.)

YN raslawn i'th dir ti fuost, O Arglwydd,
Maddeuaist anwiredd, tro'ist ymaith lidiawgrwydd;
Tro ni atat i fyw, O Arglwydd Dduw'r duwiau,
Na enyn dy soriant hyd feithder amserau;
Gwna eto'n bywhau gan drugarhau eilwaith,
Ti fedri di'n troi ni gan roi iachawdwriaeth.

2 Rhoi heddwch i'th saint ragorfraint dragywydd,
Ond iddynt ffoi atat heb droi at ynfydrwydd;
Os gadael eu bai, a phara'n rhai ffyddlon,
Dy iechyd sydd agos i 'mddangos i ddynion;
Gogoniant dy ras a blas dy wirionedd,
A roddi di i'r enaid a ofno dy fawredd.

3 Ffordd newydd a wnaed trwy waed y cyfamod,
A rhoddodd doethineb foddlondeb i'r Drindod;
Trugaredd a gwir a gyd-ymgyfarfu,
Cyfiawnder a heddwch oedd yn ymgusanu;
Pan anwyd Mab Duw o Fair oedd yn forwyn,
Cyfiawnder o'r nefoedd edrychodd yn addfwyn.

**828.** *Cyfiawnder a heddwch...M. S.* (Salm 85.)

CYFIAWNDER, mewn rhyfeddol fodd,
Edrychodd o'r uchelder,
Ac ar y ddaear fawr ei bai
Tywynai'i wyneb tyner.

2 Gwirionedd gaed o'r ddaear ddu,
Rhyfeddir mewn hyfrydwch;
A nef y nefoedd byth fydd hyn,
Cyfiawnder yn rhoi heddwch.

3 Trugaredd a gwirionedd pur
Mor eglur yn cyfarfod;
Hedd a chyfiawnder oll o'n tu,
Yn Iesu gwedi dyfod.

**829.** *Ymbil am gymhorth gras...M. N.* 11, 12. (S. 86.)

'RWY'N llefain i'r làn yn wan ac angenus,
O cadw fy enaid i Arglwydd daionus;
Gan lawenhau'th was trwy ras a thrugaredd,
'Does neb fel yr Iesu yn rhanu pob rhinwedd;
O dysg fi bob tro i rodio'r ffordd union,
I ofni dy enw, Duw una fy nghalon.

2 O Arglwydd fy Nuw, mawr yw dy drugaredd,
Hwyrfrydig i gwbl, llawn gras a gwirionedd;
Cyfrana dy nerth rhag anferth godymu,
Rho gymhorth, bydd geidwad, dal f'enaid i fyny;
Dod arwydd di-gêl, lle gwêl fy nghaseion,
Dy fod yn oludog i eneidiau tylodion.

**830.** *Adnabod yr hyfrydlais...M. S.* (Salm 89.)

GWYNFYD y rhai adwaenant lais
Efengyl fwyngais dirion,
Yn heddwch a goleuni Duw,
Y rhodia'r cyfryw ddynion.

2 Llawenydd gwyd eu hysbryd trist,
Trwy enw Crist (sydd bena';)
Yn ei gyfiawnder credant hwy,
Nid Satan mwy a'u damnia.

3 Yr Arglwydd yw ein Noddfa glyd,
Rhydd nerth ac iechyd dwyfol;
Israel, dy Frenin byth fydd byw,
Teyrnasa'th Dduw'n dragwyddol.

**831.** *Mawredd Duw a gwaeledd dyn...M. S.* (S. 90.)

DUW, buost in' yn Arglwydd da,
Ac yn breswylfa i drigo:
O bryd i bryd felly yr aeth
Pob rhyw genedlaeth heibio.

2 Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
Cyn llunio llawr cwmpas-fyd,
Duw o dragwyddol wyt cyn neb,
Hyd dragwyddoldeb hefyd.

3 I'r bedd dinystriol y troi ddyn,
Ond yna ti sy'n noddfa:
Dywedi cyn ein myn'd i'r llwch,
Dychwelwch, feibion Adda.

4 Diwalla ni yn fore iawn,
A nefol ddawn trugaredd;
Fel y mwynhäom lawen fyd
Yn hyfryd hyd y diwedd.

**832.** *Claddedigaeth henafgwr... M. S.* (Salm 90.)

SAITH deg o flwyddau, dyna'i gyd,
Yw eithaf hyd ein hymdaith;
Os cyrhaedd mwy na hyny wnawn,
Tra buan yr awn ymaith.

2 Trafferthion blin y ddaear hon
  Y'nt oll o'r bron yn ofer;
I mi sy'n gŷru'n glau o'r byd,
  O hyd yn ngherbyd amser.

3 Ychydig yw fy oes a drwg,
  Mae'n ddigon amlwg hyny;
Dysg fi, O Dduw, o'th ras dysg fi,
  O hyd i'w cyfri' felly.

**833.** *Cyfrif fy nyddiau...M. N.* 8, 7. (Salm 90.)

DYSG im' fynych gyfri'm dyddiau,
  Dysg im' edrych blwyddau f'oed,
Dysg im' rifo'r rhai aeth heibio,
  Nid oes eto fawr i fod;
Dacw nod y terfyn eitha'
  I mi yma îs y nen,
Wyth o ddegau, felly diau
  Buan daw fy nyddiau i ben.

**834.** *Gweinidogaeth angylion...M. N.* 8au. (Salm 91.)

ANGYLION y nefoedd yn un,
  A warchod oddeutu dy ffyrdd;
Gorchymyn ef ofal i'th gylch,
  Ehedant o'th amgylch di'n fyrdd:
Hwy'th ddygant yn dyner a doeth,
  A'u dwylaw ysbrydol yn nghyd,
Rhag llithro na tharo dy droed,
  Mor hynod eu gofal i gyd.

2 Nid ofni rhag dychryn y nos,
  A'r saeth ni ddaw'n agos liw dydd;
I'th gadw di 'mlaen ac yn ol,
  Ei allu anfeidrol a fydd:
Rhag haint a dinystrydd, dy NER
  A'i aden fydd dyner i'th doi;
A'i enw, dy gysgod a'th graig,
  A'th noddfa ddyogel i ffoi.

3 O herwydd it' wneuthur yr Ion,
Yr Arglwydd goruchaf yn nyth,
Yn gysgod a noddfa ddi-gryn,
Yn breswyl ddyogel am byth:
Y llew a'i genawon, os rhaid,
A'r aspiaid a sethri'r un awr,
Cai'r ddraig a'i chadernid'r un dydd,
A'i gallu aflonydd i lawr.

4 Ac arnaf y geilw mewn ing,
Gwrandawaf, gwaredaf ynghyd;
A chyd âg ef byddaf yn blaid
Digonol i'w enaid o hyd:
Gogoniant, anrhydedd, hir oes,
Fydd iddo, ac einioes o hedd;
Trwy ras iachawdwriaeth di dranc,
Y dianc o feddiant y bedd.

**835.** *Planhigion gras...M. H.* (Salm 92.)

PETH hyfryd iawn yw bod a byw
Mewn gardd a blenaist ti, O Dduw!
Gwna fi o fewn cynteddau'th ras,
Fel teg gedrwydden iraidd las.

2 Trwy'th fendith yno (mawr yw'r fraint,)
Mewn ffydd a chariad tŷf y saint;
Nid Liban a'i holl goedwydd gwych,
Sydd debyg oll mor hardd eu drych.

3 Planhigion gras dros fyth fydd byw,
Adfeilia natur—tŷf gras Duw;
Amser amharu pob peth mae,
Gras sy'n blodeuo a theghau.

4 Mewn henaint ffrwythlawn ydyw rhai'n,
Daioni Duw ei ddangos maen';
Ni chaiff a wylio wrth byrth y nef,
Ddweyd mai anffyddlon Dduw yw ef.

**836.** *Llywodraeth Duw...M. N.* 8, 7, 4. (Salm 93.)

'R ARGLWYDD nerthol sy'n teyrnasu,
Mewn mawrhydi uwch y rhôd,
Ac yn gwisgo ardderchawgrwydd,
Uwch pob arglwydd sydd yn bod:
Gwaith ei ddwylo,
Byth sydd yn egluro ei glôd.

2 Mae'n teyrnasu yn y nefoedd,
Cyn yr oesoedd oll erioed,
Cadarn sail i'r byd gosododd,
Byth ni syflodd tan ei droed:
Bydoedd prydferth
Wrth ei air a'i nerth a roed.

3 Sicr iawn yw tystioliaethau
Cadarn bynciau deddfau Duw,
Gwir sancteiddrwydd sydd yn gweddu
I'r rhai fo'n ei dŷ am fyw;
Braint ddigymar,
Fwyaf ar y ddaear yw.

**837.** *Llawenhau yn Nuw...M. S.* (Salm 95.)

O DEWCH, a chanwn i'r Arglwydd,
Efe yw llwydd ein bywyd:
Ac ymlawenhawn yn ei nerth,
Ef yw ein prydferth iechyd.

2 O de'wn yn unfryd ger ei fron,
A chalon bur ddiolchgar:
Brysiwn at Dduw, dan lawenhau,
A chanwn Salmau'n llafar.

3 Can's ef i ni y sydd Dduw da,
A phobl ei borfa ydym:
A'i ddefaid ŷm, os chwi a glyw
Ei air ef heddyw'n gyflym.

**838.** *Anogaeth i foli Duw...M. S.* (Salm 96.)

O CENWCH glod i'r Arglwydd mâd,
A moeswch ganiad newydd;
Yr holl ddaear dadgenwch fawl
Yr Arglwydd nefawl beunydd.

2 Cenwch chwi glod yr Arglwydd nef,
A'i enw ef bendigwch;
A'i iachawdwriaeth ef, trwy ffydd,
O ddydd i ddydd cyhoeddwch.

3 Can's mawr ydyw gogoniant nef,
Ac o'i flaen ef mae harddwch;
Yn ei gysegr ef y mae nerth,
A phrydferth yw'r hyfrydwch.

**839.** *Llywodraeth Duw...M. H.* (Salm 97.)

TEYRNASU mae'n Iachawdwr glân
Rhowch fawl mewn efengylaidd gân:
Boed i'r holl ddaear lawenhau,
A chaned 'nysoedd pell bob rhai.

2 Ei ddirgel gynghor, tywyll yw,
Ond gras a gwir ddeil gorsedd Duw:
Er t'wylled yw ei ffyrdd dilyth,
Cyfiawnder yw eu sylfaen byth.

3 Mewn gwisgoedd barn daw Mab y dyn,
Y beddau hyllt, a'r ddae'r a gryn;
Tân ysol lysg o flaen ein Iôr,
Nes toddi'r bryniau a sychu'r môr.

4 Mewn dychryn ei elynion fydd
Am ffoi o'i ŵydd, gan ofni'r dydd;
Ond codwch saint eich penau'n glau,
Can's mae'ch hymwared chwi'n nesâu.

**840.** *Llywodraeth Duw...M. S.* (Salm 99.)

JEHOFA sy'n teyrnasu o hyd,
Holl bobl y byd dychrynwch;
Cryned yr anwir ger ei fron,
A'r saint yn llon ymgrymwch.

2 Teyrnasu mae ein Iesu da,
Y ddae'r, addola'th Arglwydd;
Cerubiaid ger ei fron a geir,
Yn gwneyd ei air yn ebrwydd.

3 Yn Sïon mae gorseddfa'i ras,
Mawr yw ei urddas yno;
A'i wyrthiau draethir yn ei dŷ,
A'i ogoniant sy'n dysgleirio.

4 Mor sanctaidd yw ei enw gwiw:
Ofnadwy yw ei foliant:
Yn ngwaith ei ras, cyfiawnder pur,
A barn, a gwir, cysylltant.

**841.** *Mawl i'r Creawdwr...M. H.* (Salm 100.)

I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd;
Dewch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Trigolion y ddaear i gyd.

2 Gwybyddwch mai'r Arglwydd sy Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod;
Nid ni'n hunain; ei bobl ŷm ni,
A defaid rhi' ei borfa a'i nod.

3 O ewch i'w byrth â diolch brau,
Yn ei gynteddau molwch ef;
Bendithiwch enw Duw hynod,
Rhowch iddo glod drwy lafar lef.

4 Can's da yw'r Arglwydd, Awdwr hedd,
Da ei drugaredd a dilyth;
A'i wirionedd i ni a roes,
O oes i oes a bery byth.

**842.** *Mawl i'r Creawdwr...M. H.* (Salm 100)

WRTH orsedd y Jehofa mawr
Plygwch, drigolion byd, i lawr;
Gwybyddwch bawb mai ef sy Dduw,
Yr hwn sy'n lladd a gwneyd yn fyw.

2 A'i ddirfawr nerth, heb gymhorth dyn,
O'r pridd fe'n lluniodd bob yr un;
Er in', fel defaid, grwydro'n ffol,
I'w gorlan dygodd ef ni'n ol.

3 I'th byrth â diolch gân ni awn,
Cyfodi'n llef i'r nef a wnawn;
Doed pobloedd o bob iaith sy'n bod
I lenwi'th dai â llafar glod.

4 D'arglwyddiaeth di sydd dros y byd,
Tragwyddol yw dy gariad drud;
Saif dy wirionedd byth heb 'sgoi,
Pan beidio'r haul a'r lleuad droi.

**843.** *Adferu Sion...M. S.* (Salm 100)

O CYFOD bellach' trugarha,
O Dduw, bydd dda wrth Sïon;
Mae'n amser wrthi drugarhau,
Fel dyma'r nodau'n union.

2 Can's hoff iawn gan dy weision di
Ei meini a'i magwyrau:
Maent yn tosturio wrth ei llwch,
Ei thristwch a'i thrallodau.

3 Pan adeilader Sïon wych,
A hon yn ddrych i'r gwledydd;
Pan welir gwaith yr Arglwydd nef,
Y molir E'n dragywydd.

4 Hyn fydd pan gasglo pawb yn nghyd,
Yn hyfryd i'w folianu;
Yr holl deyrnasoedd ddônt yn ngwydd
Yr Arglwydd, i'w was'naethu.

**844.** *Trugarogrwydd Duw...M. N. 10au.* (Salm 103.)

FY enaid oll, bendithia'r Arglwydd nef,
Na âd dros gof ei ddoniau aml ef;
Can's maddeu mae d'anwiredd di o'i ras,
A llwyr iachau dy holl glefydau cas.

2 Gwaredu mae dy oes o ddystryw'r bedd,
Rhoi'r goron ar dy ben o ras a hedd:
Diwallu d'enau di â phethau da:
A'th ie'nctid fel yr eryr ef a wna.

3 Yr Arglwydd wna gyfiawnder pur di goll,
Ac uniawn farn i'r gorthrymedig oll;
Hysbysodd ef i Moses ffyrdd ei ras,
A'i wyrthiau gynt i Isr'el ei hoff was.

4 Trugarog iawn a graslawn yw Duw nef,
Hwyrfrydig i ddigofaint ydyw ef:
Ni wnaeth yn ol ein pechod â nyni,
Er fod ein hanwireddau yn ddiri'.

5 Cyfuwch ag yw y nef uwchlaw y llawr,
Rhagorodd ei drugaredd ef mor fawr:
Mor bell â'r dwyrain o'r gorllewin maith,
Ein camwedd trodd oddi wrthym, rhyfedd waith!

6 Fel tad i'w blant, tosturiol wrth eu llef,
Tosturia'r Iôn wrth bawb a'i hofnant ef;
Can's edwyn ef yn llwyr ein defnydd ni,
A chofio mae nad y'm ond llwch di fri.

**845.** *Rhagluniaeth Duw...M. H.* (Salm 104.)

FY enaid dod i'th Luniwr fawl,
Pan wisgo ef ei nefol wawl,
Ymddengys yn ardderchog iawn
Mewn hardd-wisg o ogoniant llawn.

2 Y nefoedd fry y'nt lèni'r Iôr,
Gwna 'i wely yn y dwfn fôr;
Cymylau yw ei gerbyd cry'
Ac ar y gwynt marchoga fry.

3 Sylfeini'r byd gyd-bwysodd E',
Mor deg, na syflant byth o'u lle;
Mewn cadwyn rhwymai'r môr yn nghyd
Rhag iddo eto foddi'r byd.

4 Eu terfyn ẁyr y tònau i gyd,
A chadwant yn eu cylch o hyd,
Oddiyno, trwy ffyrdd dirgel, ânt,
A bryn a bro a ddwfrhânt.

5 Pâr i'r ffynonau grisial clir
Ddylifo i lòni'r dyffryn dir,
Yr asyn gwyllt frêf am y ffrŵd,
Ac yno tỳr ei syched brŵd.

6 Rhwng cangau'r coedydd ger eu llaw
Yr adar leisiant oddi draw;
Bob dydd mwyn bynciant fawl yr Iôn,
I ni rhont sèn am dewi son.

**846.** *Mawl i'r Duw bendigaid...M. S.* (Salm 106.)

DUW y tragwyddol gariad rhad,
Ein ffyrdd anwastad ydynt;
Ca's Israel fynych brawf, er hyn,
O'th ras yr un tuag atynt.

2 Gwelsant dy ryfeddodau hy',
A'th fawl bryd hyny canent,
Ond clau anghofient hwy dy nerth,
A'u tafod serth grwgnachent.

3 'N awr credu wnaent i'w air yn siwr,
Tra llifai dŵr o'r creigiau:
A'u chwantau temtient Dduw 'mhen tro,
Ac yno fe'u gostyngai

4 Ond pan alarent am eu bai
Gwrandawai eu hachwynion:
Ei hen gyfamod ddyg i go',
Fe'u galwai eto'n feibion.

**847.** *Ei drugaredd yn parhau...M. S.* (Salm 106)

MOLWCH yr Arglwydd can's da yw,
Molienwch Dduw y Llywydd;
Oblegid ei drugaredd fry
A bery yn dragywydd.

2 Yr Arglwydd, pwy all draethu ei nerth,
A'i holl dirion-ferth foliant?
A wnel gyfiawnder, gwyn eu byd,
Ei farn i gyd a gadwant.

3 O Arglwydd cofia fi dy was,
Yn ol dy ras i'r eiddod;
Ymwêl â mi, i'm cystudd caeth,
A'th iachawdwriaeth barod.

**848.** *Gwaredigion yr Arglwydd...M. N.* 8, 7. (S. 107)

DA yw'r Arglwydd, cenwch iddo,
A'i drugaredd sy'n parhau;
Gwaredigion Ion cyhoeddwch,
Fod ei hedd yn amlhau;
Rhai a gasglodd ef o'r dwyrain,
O'r gorllewin, gogledd, de,
O! datgenwch ryfeddodau
Nerth ei ras anfeidrol E'.

2 Wele ei ddeheulaw allan,
Yn dyrchafu baner hedd;
Prawf a gwel y colledigion
Ras a bywyd yn ei wedd;
Egyr byrth a bàrau Babel,
Dŵg o ardal Basan wlad:
Uchel ganed gwaredigion
Duw, am iachawdwriaeth rad.

3 Hwy lefasant mewn cyfyngder;
'R Arglwydd, o uchelder nef,
Pan eu clybu, a'u gwaredodd,
'Stynodd ei ddeheulaw gref;
Torodd lawer gwaith gadwynau,
Gwnaeth eu llyffetheiriau'n rhydd;
Troi a wnaeth dywyllwch dudew,
Lawer gwaith yn oleu ddydd.

4 O! na baent yn moli'r Arglwydd,
A'i ddaioni rhyfedd iawn;
Caned meibion dynion iddo,
Am ei anchwiliadwy ddawn:
Deffro, f'enaid, cana dithau
Byth yn gyson, gyda blas;
Gwel, rhyfedda, cân heb dewi
Am ei waredigol ras.

**849.** *Y Morwyr...M. N.* 8, 7. (Salm 107.)

RHAI a ânt i'r môr mewn llongau,
Hwyliant drwy'r llifeiriant maith,
Uwch y dyfnder a'i ruadau,
Rhwng y tònau mawrion llaith;
Wrth ystyried, gwelant yno
Ryfeddodau'r Iôn bob awr,
Nad oes Duw cyffelyb iddo,
Yn rheoli'r dyfnder mawr.

2 Enfyn ei orchymyn nerthol,
Geilw yr ystorom gref;
Rhyfedd sŵn ei dònau mawrion,
'N ymddyrchafu tu â'r nef,
Hwy esgynant i'r uchelder,
A disgynant yno i lawr;
Tawdd eu henaid gan ei flinder,
'Ngrym rhuadau'r dyfnder mawr.

3 'Mdröent megys meddwyn ynfyd,
Gan ymsymud yno'n syn,
A'u holl obaith gwedi pallu,
A'u doethineb oll pryd hyn;
O'u cyfyngder anobeithiol
Gwaeddent ar yr Arglwydd nef,
Fe'u gwaredodd o'u gorthrymder,
Gras sydd yn ei wyneb ef.

4 O! dyrchafed gwaredigion
Sïon ei ogoniant ef;
Yn eisteddfod yr henuriaid
Moler enw'r Arglwydd nef;
Cân O! f'enaid, i'th Waredwr,
Nerth dy holl gadernid yw,
Noddfa yn y tywydd garw,
A'r ystormydd gwaetha'u rhyw.

**850.** *Ei ing yn fywyd i ni...M. N. 8au.* (Salm 110.)

WRTH deithio gan boethder ei groes,
Cyfyngder ei einioes oedd fawr:
Am hyn o'r addewid ddifai,
Fel afon yr yfai bob awr;
Fe redodd yr afon i'r ael,
Yr ysbryd i'w gynal a ga'dd,
Fe yfai'n ddigonol o hon,
Do, er i'w elynion ei ladd.

2 Pan dduodd yr heulwen uwch ben,
A chrynu'r ddaearen y'nghyd,
Pan gollodd sirioldeb ei Dad,
A'i natur dan deimlad o'i lid,
O ddyfnder dirgelwch! pwy wel
Eithafoedd doethineb a gras,
O waelod marwolaeth ac ing
Dûg fywyd tragwyddol i'w gas.

**851.** *Mawl i'r Ion...M. H.* 6 *llin.* (Salm 113.)

CHWI weision Duw molwch yr Ion,
Molwch ei enw â llafar dôn;
Bendigaid fyddo 'i enw ef:
O godiad haul hyd fachlud dydd,
Mawr enw'r Ion molianus fydd,
Yn y byd hwn ac yn y nef.

2 Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant aeth uwch nef i gyd,
Pwy sydd gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng ef,
Gwel ef ein cam, clyw ef ein cri.

3 Yr hwn sy'n codi'r tlawd o'r llwch,
A'r rheidus o'i orthrymder trwch,
I'w gosod uwch penaethiaid byd:
I'r anmhlantadwy mae'n rhoi plant,
Hil têg a thylwyth a llwyddiant;
Am hyn molienwch Dduw i gyd.

**852.** *Gwaredigaeth Israel...M. H.* 6 *llin.* (Salm 114.)

PAN ddaeth plant Israel o'r Aipht faith,
Tŷ Iago oddiwrth estron iaith,
Judah oedd ei sancteiddrwydd ef
Ac Israel oedd benaethiaeth Ior,
Pan gwelodd hyn, ciliodd y môr,
A throes i'w hol'r Iorddonen gref.

2 Neidient fel hyrdd fynyddoedd draw,
A'r bryniau megys ŵyn gan fraw;
Cawsant wastadedd megys dôl:
Pa'm ciliaist fôr er maint dy dòn?
Tithau, Iorddonen lathraidd lòn,
Paham y tro'ist dy ffrydiau'n ol?

3 Fynyddoedd byd, paham y ffoech
Fel hyrddod? a pha'm nad arhoech?
A chwithau fryniau fel ŵyn mân?
Am mai rhaid ofni Duw fel hyn,
Yr hwn sy'n troi y graig yn llyn,
Ac yn rhoi dwfr o'r gareg dân.

**853.** *Gwaredigaeth Israel...M. N.* 7, 7, 8. (Salm 114.)

PA gynwrf a pha ruddfan,
Sydd trwy holl faesydd Soan?
Pa dorf yw hon sy'n myn'd i maes,
Heb ynddi neb yn egwan?
—Duw Abra'm sydd yn gwared
Ei hil, o'u blinfyd caled,
A'u dwyn y mae (gan ddryllio'r Aipht)
O'u haiarn bair gaethiwed.

2 Pwy rwyga iddi'r dyfroedd,
Balmanta'r gorddyfnderoedd;
A'i harwain trwy'r anialwch maith,
Gan borthi ei haml filoedd?
—Ei chymhorth mawr digonol,
Yw'r Ydwyf mawr tragwyddol:
I'r Canaan wiw ei harwain wna,
Trwy wyrthiau tra rhyfeddol.

3 Paham y ciliwch ddyfroedd,
Y neidiwch chwi fynyddoedd,
Yr wylwch chwithau greigydd hyll,
Yr anial dir yn llynoedd?

—Onid gweddus i ni barchu
Ein Crewr;—mewn mawrhydi,
Yn rhodio o flaen ei braidd yn hardd,
Trwy'r anial dir i fyny?

4 I bwy y bryniau oesol,
Y plygwch chwi yn drefnol?
A thi'r Iorddonen gyflawn gref,
Y rhedi yn dy wrthol?
—I'r hwn sy'n pwyso'r bryniau,
Fel mân-lwch mewn clorianau,
Ac yn ei law mae'r moroedd mawr,
A'u h'nysoedd megys brychau!

**854.** *Hyderu yn Nuw... M. N.* 10*au.* 6 *llin.* (Salm 115.)

I'N henwau gwael, O Dduw, ni pherthyn clod;
I'th enw mawr dy hun gogonedd dod;
Dy nerth, dy nawdd, dy wir, a'th iawnder maith,
A bair dy foli mewn anfarwol iaith:
Goleua'r byd o'r nef, dy drigfan wiw,
Na chaed ynfydion ddweyd, 'Pa le mae'ch Duw?'

2 O Israel dod ymddiriad yn dy Dduw,
Dy gadarn borth a'th amddiffynfa yw:
Canfydda'th gur, a'th drallodedig wedd,
Dy ruddfan clyw, adfera iti hedd:
Cysuron fyrdd sy'n ei wasanaeth Ef;
Dy gymhorth hael yw Duw, a'th darian gref.

**855.** *Trugaredd a Gwirionedd... M. S.* (Salm 117.)

O CENWCH fawl i'r Arglwydd nef,
Molienwch ef, genedloedd;
Molwch ei enw ef trwy'r byd,
Chwithau i gyd y bobloedd.

2 Am ei fod ini yn dda iawn,
Yr Arglwydd llawn trugaredd:
A'i air ef sydd yn parhau byth,
Sef ei ddilyth wirionedd.

**856.** *Esgyniad Crist...M. N.* 8au. (Salm 118.)

Y MAEN a wrthodwyd yw'r sail,
  Cadernid yr adail i gyd,
Er gwneud o'r Iuddewon, yn ffol,
  'R offeiriaid gelynol yn nghyd;
Yr Iesu a hoeliwyd ar groes.
  Heb ynddo un achos na bai:
Er marw tan w'radwydd a llid,
  Yn sylfaen dragwyddol y sai.

2 Rhyfeddol i'n golwg oedd hyn,
  Rhoi'r gelyn gormesol yn gaeth,
A'r Blaenor, ar Galfari fryn,
  Yn llyncu holl wenwyn ei saeth:
Er marw ar groesbren, tan lid
  A'i enaid mewn gofid à chlwy'
Fe lefodd, Gorphnnwyd! hyd nen,
  Nes rhwygo'r wahanlen yn ddwy.

3 Cyd-genwch, fe wawriodd y dydd,
  Daeth Crist, ein gwaredydd i'r làn;
Agorodd byrth angeu a'r bedd,
  Caed testyn gorfoledd i'r gwan;
Gwnaed nerthoedd pyrth uffern yn nghyd,
  A'u cyngor yn ynfyd am byth;
Daw'r caethion o'u cystudd yn iach,
  A'u nifer yn amlach na'r gwlith.

4 Atolwg, atolwg i ti
  O Arglwydd anfeidrol ei nerth,
Par lwyddiant hyd oesoedd a fydd,
  Breswylydd tragwyddol y berth:
'N awr achub, prysura dy waith;
  Datguddia'r achubiaeth drwy'r gwaed,
A chais y colledig yn ol,
  Y bywyd tragwyddol a gaed.

**857.** *Addoliad y Sabboth...M. S.* (Salm 118.)

WEL dyma'r dydd, Duw a wnaeth hwn,
Dewch, gorfoleddwn ynddo;
Yn ei gynteddau ar yr ŵyl,
Iawn ddysgwn ddysgwyl wrtho.

2 I fyny awn i fynydd Duw,
Esgynwn i'w gynteddau;
Dysg in' ei ffordd, ac wedi hyn
Ni rodiwn yn ei lwybrau.

3 O Arglwydd, achub fyrdd yn awr,
Pâr lwyddiant mawr, atolwg;
A'r Ysbryd o'r uchelder fo
Yn nerthol weithio'n amlwg.

4 Ar foddion gras, hyd eitha'r byd,
Yn hyfryd byddo llwyddiant;
Ar frys enilled Iesu mawr
Derfynau'r llawr i'w feddiant.

**858.** *Maen a lyswyd..M. N.* 2, 8. (Salm 118.)

Y MAEN,
Wrthodwyd gan y gwyr o'r blaen,
Ei wthio'n ol o'u plith a wnaen';
Fe saif yn Graig a sylfaen gref,
Mae'n dàl ei eglwys ar y llawr,
Mae'n Ben yn awr, goruwch y nef.

2 Syn, syn,
O'r Arglwydd, hynod, y daeth hyn,
Rhyfeddwn fraint Calfaria fryn;
Llifeiriodd llyn yn foroedd llawn,
A noddfa rydd drwy ffydd i ffoi,
Sydd wedi ei roi, drwy waed yr iawn.

3 Rhydd, rhydd,
Y daw y carcharorion prudd,
Efengyl yn dadseinio sydd;
A dyma'r dydd a wnaeth ein Duw,
Cyd-orfoleddwn, cadwn wledd,
O'i isel fedd, daeth Iesu'n fyw.

4 Rhad, rhad,
Fe rwymwyd aberth mawr heb wâd,
Wrth allor Duwdod Mab y Tad;
Fe wel ei hâd, bu'n wael ei hun,
Mor isel barch, bu'r Iesu'n byw,
Pan wisgwyd Duw mewn natur dyn.

5 Rhydd, rhydd,
I droedio daeth y trydydd dydd
A phardwn carcharorion prudd;
Cyfiawnder sydd a'i gadarn sail,
Ar gyfri' llwyr ufudd-dod llawn,
A'r eitha' iawn wnaeth Adda'r ail.

**859.** *Rhodio yn ol y Gair... M. S.* (Salm 119)

DYSG im', fy Iôn, dy ffordd yn glau,
Dy ddeddfau fo'm hyfrydwch;
Dysg i mi gadw d'air yn lân,
Mae'n ddiwahân â heddwch.

2 Gwna i mi ddeall hwn a'i hedd,
Mae ynddo wledd i enaid;
A charaf wneuthur i barhau
Dy eiriau glân bendigaid.

3 Gwna i mi gerdded mwy bob cam,
A meddwl am dy lwybrau;
Boed fy ewyllys oll fel hyn,
Yn gyson yn dy ddeddfau.

4 Dysg im' dy ffordd a chadwaf hi,
Dysg i mi hoffi rhodio—
A dilyn d'air er dŵr a thân,
A'th lwybrau glân heb gilio.

5 Na âd i'm llygaid, megys ffôl,
Droi byth yn ol at wagedd;
Gwna i mi garu'th ffyrdd bob pryd,
A'u teithio hyd y diwedd.

**860.** *Daioni o gadw y Gair...M. S.* (Salm 119.)

PA fodd (O Dduw) y ceidw llanc,
Sydd ieuanc, ei holl lwybrau?
Wrth ymgadw yn ol dy air,
Pob llwybr a gair yn olau.

2 I'm calon cuddiais dy air cu,
Rhag i mi bechu'n d'erbyn,
O Arglwydd, bendigaid wyt ti:
Dysg i mi dy orchymyn.

3 Dy ddeddf fy myfyr yw, a'm drych,
Dy ffyrdd 'rwy'n edrych arnynt:
'Rwy'n ymddigrifo'n d'eiriau pur,
O'm côf nis collir mo'nynt.

**861.** *Gwerthfawrogrwydd y Gair...M. H.* (Salm 119.)

AM air ein Duw rho'wn â'n holl fryd,
Soniarus fawl trwy gonglau'r byd,
Mae'n llusern pur i'n traed heb goll,
A llewyrch glân i'n llwybrau oll.

2 Fe rydd i'n henaid esmwythâd,
Fe'n tywys tua'r nefol wlad;
Gan ddangos cariad Ceidwad cu,
Ac enyn cariad ynom ni.

3 I'r cryf mae'n ymborth llawn o faeth,
I'r gweinion blant yn ddidwyll laeth;
Rhydd addysg a chysuron maith,
A nerth i gyrhaedd pen y daith.

4 Fy nghleddyf yw, i faeddu'r ddraig,
A'm drych, i ganfod Had y wraig;
Trysordŷ mawr yn llawn o ras,
A gwindŷ'r nef mewn anial cras.

**862.** *Gair Duw...M. N.* 8, 7. (Salm 119.)

CLOD i Dduw am air ei deyrnas
Sy'n datguddio hedd a gras,
Gwerthfawrocach yw i'm henaid
Na holl drysor daear las;
Nid yw miloedd myrdd o arian,
Aur, a thlysau pena'r byd,
Ond fel gwegi, o'u cymharu
A'i lan dystiolaethau drud.

2 Yma caf bleserau sanctaidd
Llaeth a mêl, a gwên fy Nuw;
Sypiau Canaan, gwleddoedd breision,
Mana ddigon tra f'wy' byw;
Dengys hwn y ffordd im' dreulio
F'oriau'n hyfryd oll i ben,
Ffordd i farw'n llon dan ganu,
Ffordd at delyn aur y nen.

**863.** *Gair Duw...Ton Meifod.* (Salm 119.)

GWYN byd sawl sy'n byw
Wrth union gyfraith Dduw,
Yn rheol fe'i rhoed
Erioed i ddynol ryw:
Llawn sicrwydd sydd dan sêl,
O gysur yn ddi-gêl,
Gwel, gwel, seintiau, mawr eu breintiau,
'R mwyn ddiliau mêl.

Credadyn cry' dedwydd,
I'r Arglwydd fo'n was,
Sy'n gwybod, modd gwiwber,
Am bleser eu blas;
Ac yno'n addas y cynydda,
Llwydda'n llon,
Hon, hon ydyw'r ganwyll gain-wiw,
Rhag briw mewn bron.

2 Cyfeillgar wyf fi,
A'r rhai a d'ofnant di,
Heb daflu tu cefn
Uuion drefn Un yn Dri.
Ar haner nos yr awn
I'th foli di mewn dawn.
Llawn, llawn, haeddiant Duw'r gogoniant,
Yw moliant iawn.
Mae graddol geryddon
Y tirion Dduw Tad,
Yn aros yn arwydd
O sicrwydd llesâd;
A thadol gariad yw dy gerydd,
Sydd i'r saint,
Braint, braint, ddirfawr, wlithog, werthfawr,
Mawr yw ei maint.

**864.** *Cadw y Gorchymynion ..M. H.* (Salm 119.)

YN ffordd d'orch'mynion, Arglwydd da,
Cyfrwydda fi mewn byd o bla;
Na'd imi gyfeiliorni 'mhell
Oddiwrth dy dystiolaethau gwell.

2 Gwell imi gyfraith d'enau di
Na chyfoeth bydol, parch na bri;
Gwell yw na dim cael profi'th hedd
Tu yma a thu draw i'r bedd.

3 Heb gyfeiliorni ar un tu,
Nes myned trwy'r Iorddonen ddû;
Ac at y saint yn Nghanaan sydd
Oddiwrth bob camsyniadau'n rhydd.

4 O maddeu 'meiau aml ri',
Cadw fi'n isel gyda thi,
Dan brawf o'm gwaeledd, nefol Dad,
A theimlad o dy gariad rhad.

5 O Arglwydd, arwain fi'n dy law,
Nes d'od i dir y bywyd draw,
I ganu'th glod, tu fewn i'r llen,
Heb dewi mwy dros byth—Amen.

**865.** *Dysgwyl wrth Dduw...M. S.* (Salm 121.)

DYSGWYLIAF o'r mynyddoedd draw,
Lle daw im' help 'wyllysgar:
Yr Arglwydd rydd im' gymhorth gref,
Hwn a wnaeth nef a daear.

2 Dy droed i lithro ef nis gâd,
A'th Geidwad fydd heb huno:
Ac wele Geidwad Israel lân,
Heb hûn na hepian arno.

3 Yr Ion a'th geidw rhag pob drwg,
A rhag pob cilwg anfad;
Cai fyn'd a dyfod byth yn rhwydd,
Yr Arglwydd yw dy Geidwad.

**866.** *Dysgwyl wrth Dduw...M. B. C.* (Salm 121.)

DYRCHAFA'I 'ngolwg fry,
I fyny at fy Ngheidwad;
Fy nghymhorth ddaw tra fyddwyf byw
Oddiwrth fy Nuw yn wastad.

2 Yr hwn a wnaeth y ne'
Ni âd efe im' lithro;
Can's Ceidwad Israel, mawr ei rym,
Nid ydyw ddim yn huno.

3 Mae'n gysgod rhag y gwres,
Yn fawr-les pan fo erlid;
Fe arwain Israel yn ddi-ball,
Yn ddiwall â'i addewid.

4 Fe'm ceidw rhag pob drwg,
Pan fyddo amlwg ymliw;
I fewn ac allan tra fo'm byw,
Ein cadarn Dduw â'n ceidw.

**867.** *Heddwch Sion...M. N.* 6, 8, 6—1*af.* (Salm 122.)

MOR llawen ce's fy ngwneud,
Glywed y bobl yn dweyd,
"Dewch heddyw i geisio Duw'n un fryd:
Ië, gyda mawr serch llawn,
I Sïon fryn nesâwn,
I dalu'n haddunedau i gyd."

2 O Sïon! hapus yw!
Lle harddwyd â grâs Duw;
A muriau nerth amgylchant hon:
Daw'r llwythau yno 'nghyd,
I addoli Duw i gyd,
A gwrando llais ei efengyl lon.

3 Mab Dafydd (dwyfol gainc)
Sefydlodd yno 'i fainc,
I roddi grâs a barn yn hon:
Gwna'r seintiau lawenhau,
A dynion drwg dristau,
A'r enaid tlawd fydd yno'n llon.

4 O fewn dy byrth boed hedd,
Llawenydd yr un wedd,
I loni 'th westwyr di a'th hil:
Y dyn sy'n erfyn cael
It' hedd a llwyddiant hael,
Boed ar ei ben fendithion fil.

**868.** *Hoffi Sion...M. S.* (Salm 122)

I DY'R Arglwydd pan dd'wedent, Awn
I'm llawen iawn oedd gwrando:
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
Yr un ni syrth oddiyno.

2 Caersalem lân ein dinas ni,
Ei sail sydd ynddi 'i hunan,
A'i phobl sydd ynddi yn gytûn,
A Duw ei hun â'i drigfan.

3 Can's yno daw y llwythau 'nghyd,
Yn unfryd, llwythau'r Arglwydd:
Tystoliaeth Israel a'i drig-fod,
A chlod i'w fawr sancteiddrwydd.

4 O fewn dy gaerau heddwch boed
I'th lysoedd doed yr hawddfyd;
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymydogion hefyd.

**869.** *Myned i Sion..M. S.* (Salm 122.)

FY nghalon a fawr lawenhai,
Pan dd'wedai rhai'n awyddus—
"I Sion brysiwn yn ddiludd
I gadw'r dydd cyhoeddus."

2 'Rwy'n caru 'i phyrth a'i phrif ffordd hi,
Mae wedi 'i theg addurno
A gras fel llys a wnaed i Dduw;
Ei wyneb gwiw geir ynddo.

3 O fewn ei llysoedd heddwch boed,
Llawenydd doed i'w llenwi;
Pob duwiol rodd a nefol rad,
I'r sawl fo'n gwarchod ynddi.

4 Dros Sïon mi weddia' o hyd,
Tra chwyth a bywyd geny',
Mae'm ffryns a'm ceraint yno'n byw,
A'm Ceidwad Duw'n teyrnasu.

**870.** *Ymwared yn Nuw... M. C.* 8, 6. (Salm 124.)

TRWY Dduw gall Israel had yn awr
Ddywedyd, Mawr ei ras!
Yn cuddio'n cynal hyd yn hyn,
Er gallu'r gelyn cas.

2 Oddiwrtho ef y daw, bob cam,
Fy nghymhorth a'm iachâd:
Ni huna'm Ceidwad ar un tro,
I lithro'm troed ni's gâd.

3 Yn fyw llyncasent fi cyn hyn,
Eu llid i'm herbyn sydd;
Llifasai tros fy enaid gwan,
Fel afon gref, bob dydd.

4 Ond bendigedig fyddo'r Iôn,
Ei aden dirion byth,
Yw ac a fydd, rhag trais a llef,
Fy noddfa gref a'm nyth.

5 Fy mhorth a'm tarian mwy, bob dydd,
A fydd yr Arglwydd Ior;
Efe sydd ben, teyrnasa byth
Dros eithaf tir a môr.

**871.** *Diogelwch Sion... M. N.* 10au. (Salm 125.)

YR hwn a gred yn Arglwydd mawr y nef,
Fel Sïon fryn, byth nid ysgogir ef;
Fel Salem Gaer, i'w chylch mynyddoedd sydd,
Yn gymhorth cry', i'w blant Duw felly fydd.

2 Fel fflangell lem gorthrymwyr creulon sydd,
Ond gyru'r plant yn nes i'w cartref bydd:
Daioni gwnaed yr Arglwydd mawr o'i ras,
Tangnefedd boed ar wyneb daear las.

**872.** *Diogelwch Sion...M. S.* (Salm 125.)

SAWL a 'mddiriedant yn Nuw Iôn,
Byddant fel Sïon fynydd,
Yr hwn ni syfl: a'i sylwedd fry
A bery yn dragywydd.

2 Fel y saif sail Caersalem fry,
A'i chylchu mae mynyddoedd;
Felly yr Arglwydd yn gaer sydd
Dragywydd cylch ei bobloedd.

3 O Arglwydd Dduw, yn brysur gwna
I bob dyn da ddaioni:
Sef union atat ti yn glau
Y bydd calonau'r rheiny.

**873.** *Dychwelodd ein caethiwed...M. C.* 8, 6. (S. 126.)

PAN y dychwelai'r Arglwydd Iôn
Gaethiwed Sïon gû,
Fel rhai mewn breuddwyd oll ger bron,
Yn union'r oeddym ni.

2 Ac yna llanwyd genau'r llu,
Yn gû ag uchel gân;
Ac yn llawenydd mawr yr aeth,
Am waredigaeth lân.

3 A synu wnaeth cenedloedd byd,
A d'wedyd am ein Duw,
Mai cadarn blaid i'w anwyl blant,
Y rhai a'i hofnant, yw.

4 Gwnaeth Duw weithredoedd mawr tros ben,
I'n gwneyd yn llawen iawn,
Dychwelodd ein caethiwed prudd,
Fel yr afonydd llawn.

5 Y sawl sy'n hau mewn dagrau blin,
Tan chwerthin medant hwy;
Er maint yw pwys eu galar prudd,
Y 'sgubau fydd yn fwy.

**874.** *Medi mewn gorfoledd..M. S.* (Salm 126.)

Y RHAI sy'n hau y gwerthfawr hâd,
Yn mhob rhyw wlad fendithir,
Er wylo wrth lafurio'n awr,
Rhyw lwyddiant mawr a welir.

2 Bydd canu llon wrth wel'd yn nghyd
Ffrwyth angeu drud yn dyfod,—
I Sïon fry, o bob rhyw fro;
Bydd tegwch hono'n hynod.

3 Pan ddelo'r holl ysgubau 'nghyd,
Bydd hyfryd ar galonau
Y rhai a welwyd lawer awr
Yn wylo i lawr y dagrau.

4 Ceir gwel'd y saint ar Sïon fryn,
Oll yn eu gwyn yn canu;
I'r Oen fu farw rhont y clod
Am ddyfod i'w gwaredu.

**875.** *Plant yu eiddo Duw...M. H. 6 llin.* (Salm 127.)

ER aur a chyfoeth tir a môr
Plant ydynt etifeddiaeth Iôr,
Na'r India gwerthfawrocach hwy;
Er tyru aur rif tywod mân,
A'r aur a'r arian oll ar dân,
Eneidiau sydd drysorau mwy.

2 Gadewch i'r plant nesau i'r pyrth,
Cysegrwch hwynt i Dduw a'i wyrth,
Can's eiddo rhai'n yw teyrnas nef;
Neillduwch hwynt i Dduw a'i dŷ,
I ddysgu iaith Caersalem fry,
O'r groth y ceir ei obry ef.

3 Fel saethau'n llaw y cadarn yw
Hiliogaeth gwr dan fendith Duw,
Plant i'enctyd yn gwas'naethu'r Ion;
Gogoniant oes a thegwch braint,
Yw gweled ie'nctyd glân yn saint,
Am hyn bydd rhyw dragwyddol sôn.

4 Llawenydd coron tad a mam,
A goruchafiaeth lân ddi-nam,
Yn wyneb eu gofidiau i gyd;
Cael ffrwyth eu bru i feddu braint,
Tragwyddol enw gyda'r saint,
A bery'n hwy na mawredd byd.

**876.** *Maddeuant pechod...M. H.* (Salm 130)

O DDYFNDER trallod codais lef
Hyd atat ti, fy Nuw, i'r nef;
Yn llym os creffi ar bob bai,
Nid oes un cnawd o'th flaen a sai'.

2 Ond ti a godaist orsedd gras,
I roi o hon bardynau i maes;
I bechaduriaid gael nesâu
I'th geisio, 'th garu, a'th fwynhau.

3 Fel teithwyr wedi'r nos a fydd
Mewn hiraeth mawr am wel'd y dydd,
Mae fenaid wrth dy borth un wedd
Am wel'd dy wyneb, teimlo'th hedd.

4 Rho'is yn dy air fy ngoglud maith,
A'm gobaith ni bu'n ofer chwaith;
Eneidiau blin at f'Arglwydd dewch,
Ac esmwythâd o'ch blinder cewch.

**877.** *Marw i'r byd...M. C.* 8, 6. (Salm 131.)

DYSG i mi fyw yn hyn o fyd,
Nes darffo 'mywyd i,
Gan dreulio f'oes mewn isel fryd,
Nes dyfod atat ti.

2 Heb roi fy mryd ar bethau mawr,
I geisio enill bri;
Ond oddi wrth deganau'r llawr,
Diddyfna f'enaid i.

3 I'r gostyngedig rhoddi ras,
Sydd wrth dy draed yn byw;
Y rhai a gant eu bwrdd yn fras,
Yn eglwys hardd fy Nuw.

4 Dysgwylied f'enaid tra bo chwyth,
Wrth Arglwydd mawr y ne';
Ac Israel fo'n ymddiried fyth,
Am fendith ganddo fe.

**878.** *Duw gyda'i achos...M. C.* 8, 6. (Salm 132.)

CYFODED Brenin mawr y nef,
Gorphwysed yn ei barch;
Ein cadarn Ior fe'n ceidw ef,
Rho'wn ysgwydd dan ei arch.

2 Mae ef a'i babell yn y byd,
Ymgrymwn wrth ei draed;
Mab Dafydd dalodd aberth drud,
Gogoniant am y gwaed.

3 Dewisodd Sïon, gyd â'i saint,
Yn drigfan iddo 'i hun;
Awn yno i fyw, mawrhawn y fraint,
Fel brodyr yn gytun.

**879.** *Cariad brawdol...M. S.* (Salm 133.)

WELE, fod brodyr yn byw 'nghyd,
Mor dda, mor hyfryd, ydoedd!
Tebyg i olew o fawr werth,
Mor brydferth ar y gwisgoedd.

2 Fel pe disgynai gwlith Hermon
Yn dô dros Sïon fynydd;
Lle rhwymodd Duw fywyd, a gwlith
Ei fendith yn dragywydd.

**880.** *Aros yn y Ty y nos...M. S.* (Salm 134.)

WELE, holl weision Arglwydd nef,
Bendithiwch ef, lle'r ydych
Yn sefyll yn nhŷ Dduw y nos,
A'i gyntedd diddos trefnwych.

2 Dyrchefwch chwi eich dwylaw glân
Yn ei gysegr-lân anedd:
A bendithiwch â chalon rwydd,
Yr Arglwydd yn gyfanedd.

3 Yr Arglwydd, â'i ddeheulaw gref
Hwn a wnaeth nef a daear,
A roddo fendith o'i rydd ras,
I Sïon ddinas hawddgar.

**881.** *Aros yn y Ty y nos...M. C.* 8, 6. (Salm 134.)

DEWCH weision Duw i'w sanctaidd dŷ,
Bendithiwch ef yn awr;
Mynegwch am ei gariad cû,
Yn ngwydd trigolion llawr.

2 Mae aros yno'r nos yn wir,
Yn fraint a chysur mawr;
Ni phery t'wyllwch ddim yn hir,
Fe dỳr yr eglur wawr.

3 Dyrchefwch ddwylo sanctaidd fry,
I fynu ato fe;
Rho'wch fawl ar gân drwy'r eglwys gû,
Yn llafar am eich lle.

4 A'r Duw a wnaeth y nef a'r llawr,
A d'wyno wawr ei wedd,
Gan roi i'n plith ei fendith fawr,
Yn Sïon dinas hedd.

**882.** *Ufudd-dod y greadigaeth...M. H.* (Salm 135.)

RHO'WCH glod yn awr i'r Arglwydd nef,
Ei weision ef sydd yma'n un,
Mewn hyfryd gân rho'wch fawl ar g'oedd,
Yn ei gynteddoedd yn gytun.

2 Can's dewis Israel gynt a wnaeth,
Yn briodoriaeth iddo ef;
Yr hyn a fyno saif yn awr,
O ddyfnder llawr i entrych nef.

3 Mae'r tarth a'r mellt, a'r gwlaw yn nghyd,
A'r gwynt o hyd yn ufuddhau,
Gan fyned allan wrth ei air,
Yr hyn a bair, sydd yn parhau.

4 Ei goffadwriaeth fydd o hyd,
Yn hwy na'r byd a'i enw'n ben;
Rhyfeddu'n wir fydd am ei waith,
Drwy'r ddaear faith a'r nefoedd wen.

5 Y sawl sy'n ofni'r Arglwydd nef,
Bendithiwch ef tra byddo chwyth,
Y Gwr a'i prynodd ar y pren,
A sai' yn ben i Sïon byth.

**883.** *Moliannu am drugaredd...M. H.* (Salm 136.)

AR lafar dôn i'n Harglwydd da,
Sain Haleluia rho'wn ar led;
Mae'n Arglwydd pob arglwyddi sy',
Mae'n gymhorth cry', rho'wn ynddo'n cred.

2 Mae'n gwneuthur rhyfeddodau mawr,
Y nef a'r llawr, a'u nifer llu,
Y lloer a'r haul eu llewyrch rhed,
Pan dd'wedodd bydded, felly bu.

3 Mewn isel radd y cofia Duw,
Gofalwr yw, rho'wn fawl i'w ras;
Pob cnawd am ymborth ato red,
Sy'n byw ar led y ddaear las.

4 Ar liniau'n awr moliannwn ef,
Am ras y nef a roes yn nodd;
Mae ei drugaredd tra b'o chwyth,
Yn para fyth mewn puraf fodd.

**884.** *Sion wylôfus...M. S.* (Salm 137.)

PAN oeddym gaeth yn Babilon,
Ar lan prif afon groyw,
Mewn coffadwriaeth am Sïon,
Hidlasom ddagrau'n loyw.

2 Rhoddasom ein telynau 'nghrog
Ar goed canghenog irion,
Lle yr oedd preniau helyg plan
Oddeutu glan yr afon.

3 Can's yno y gofynodd rhai
In' am ganiadau Sïon;
Ac am lawenydd (hyn sydd wir)
Gan ein gorthrymwyr creulon.

4 O Dduw, pa fodd y canai neb
(Rhoem ateb yn ystyriol)
I chwi o gerdd ein Harglwydd Dad,
A ni mewn gwlad estronol?

5 Os â Caersalem o'r côf mau,
Anghofied dehau ganu:
Na throed fy nhafod, oni bydd
Hi'n ben llawenydd i mi.

## 885. *Moliannu Duw Sion...M. S.* (Salm 138.)

RHOF fawrglod i ti, fy Nuw Iôn;
O ddyfnder calon canaf:
Yn ngwydd angylion y nef fry,
Byth felly y'th foliannaf.

2 Ymgrymaf tu a'th sanctaidd dŷ,
Dan ganu o'th drugaredd:
A'th enw mawr uwch-law pob peth,
A'th air difeth wirionedd.

3 O doed brenhinoedd daear gron,
A rhoent it' union foliant:
Addolant oll ein gwir-Dduw ni;
Can's d'eirau di a glywsant.

4 Yr Arglwydd a gyflawna â mi,
Duw, dy ddaioni rhag-llaw;
Ac yn dragywydd i mi dod,
Na wrthod waith dy ddwylaw.

## 886. *Hollbresenoldeb Duw...M. H.* (Salm 139.)

DUW, chwiliaist, ac a'm gwelaist trwy;
I'th olwg, noeth, ac amlwg wy'i:
Fy nghodiad a'm gorweddfa i lawr,
A'm calon wyddost bob yr awr.

2 Cyn gwybod fy meddyliau'm hun,
Gwybodus y'nt i'm Duw bob un:
Fe wyr y peth wy'n feddwl ddweyd,
Cyn i f'ymadrodd gael ei wneyd.

3 Dy allu mawr o'm hamgylch sy',
Dy law wy'n weled o bob tu:
Yn effro, 'nghwsg, draw ac yn nhre',
Mae Duw'n f'amgylchu yn mhob lle.

4 Pe cawn adenydd boreu wawr
A ffoi tu hwnt i'r cefnfor mawr;
Dy law âi yno'n gynt mi wn,
A daliai y ffoadur hwn.

5 Y tywyll nos a'r goleu ddydd,
Duw mawr, i ti'r un ffunud sydd;
Nid angeu a gudd'r hyn welo Duw,
Ac uffern, noeth i'w olwg yw.

6 O ryfedd fawr wybodaeth Duw,
Mor ëang ac mor uchel yw:
Fy enaid a'i alluoedd oll,
A â'n yr olwg faith ar goll.

**887.** *Hollbresenoldeb Duw...M. H.* (Salm 139.)

RHYFEDDOL yw dy fawredd di,
Tu hwnt i'n holl amgyffred ni;
Llanw pob man'r wyt ti yn rhwydd,
Dim lle nid oes i ffoi o'th wydd.

2 O ddyfned ac ehanged yw,
Holl fawr a doeth weithredoedd Duw,
Fe ddylai llychod gwael y llawr
Dy ofni di bob mynud awr.

3 O chwilia di fy enaid oll,
Os wyf yn gwyro dim ar goll:
A dwg fi'n ol drwy dduwiol ddawn,
I lwybrau'r nef i rodio'n iawn.

**888.** *Gobaith yn Nuw...M. S.* (Salm 141.)

O BRYSIA, Arglwydd, clyw fy llais,
O brysur gelwais arnat:
O'r man lle b'wyf gwrando fy llef,
A doed i'r nef hyd atat.

2 O Arglwydd, gosod, rhag gair ffraeth,
Gadwraeth ar fy ngenau:
Rhag im' gam dd'wedyd, gosod ddôr
Ar gyfer fy ngwefusau.

3 Mae 'ngolwg a'm holl obaith i,
Duw, arnat ti dy hunan:
O bydd di'n unig yn fy mhlaid:
Na fwrw f'enaid allan.

**889.** *Amddiffynfa yn Nuw...M. H.* (Salm 144.)

BENDIGAID fyddo'r Arglwydd nef,
Fy unig amddiffynfa gref;
Fy nhŵr a'm nerth, fy nharian yw,
Gwaredwr doeth erioed yw Duw.

2 O Arglwydd doeth, pa beth yw dyn,
I ti ymwel'd âg ef dy hun,
A gras ac iachawdwriaeth Duw,
Gan wneud ei enaid marw'n fyw!

3 Mae'r ddinas a fendigo Duw,
A'i meibion fel planhigion gwiw;
A'i merched mewn llewyrchiad llon,
Yn feini hardd o fewn i hon.

4 Ag ychain, defaid, celloedd llawn,
A phob peth yn cynyddu'n iawn;
Gwyn fyd y bobl sydd felly'n byw,
A'r Arglwydd iddynt hwy yn Dduw.

**890.** *Enw Duw yn glodfawr...M. H.* (Salm 145.)

DYRCHAFAF di fy Nuw'n ddilyth,
Dy enw a glodforaf byth;
Y gwaith fydd hoff i mi o hyd
Tra fyddwyf byw o fewn y byd.

2 Dy ogoneddus weddus waith,
Mynegir ef gan bob rhyw iaith;
Dadseiniant hwy dy ryfedd ras,
Yn mhob rhyw le drwy'r ddaear las.

3 Ei waith ar dir sy'n canmol Duw;
I bawb trwy'r byd daionus yw
Ond seintiau sydd yn profi mwy,
Ei enw a foliannant hwy.

4 Un agos iawn yw'r Arglwydd nef,
I'r rhai a alwant arno ef;
Fe weryd byth yr enaid byw,
Cywira' dawn, sy'n caru Duw.

**891.** *Duw yn unig gymhorth...M. C.* 8, 6. (Salm 146.)

O RHODDWCH fawl i Frenin nef,
Moliennwch ef yn nghyd;
Fy enaid mola'r Arglwydd Dduw,
Tra fyddwyf byw'n y byd.

2 Ar dywysogion dan y sêr,
Na roddwch hyder chwaith;
Cartre' y rhai'n, er maint eu clôd,
Yw llawr y beddrod llaith.

3 O gwyn ei fyd y dyn a fo
Duw Jacob iddo ef,
Yn ngwyneb myrdd o ddrygau'r ddraig,
Yn Graig o gymhorth gref.

4 Mae'n barnu'r gorthrymedig oll,
Mae'n borthwr digoll da;
Rhyddhawr y caethion yw Duw Iôn,
Goleuo deillion wna.

5 Cynaliwr gweiniaid, euog gwael,
Yw'r Arglwydd hael o hyd;
Yr holl genedloedd îs y nef,
Moliennwch ef yn nghyd.

**892.** *Duw yn adeiladu Sion...M. B.* (Salm 147.)

O CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus ydyw'r gwaith,
Am ei drugaredd ryfedd râd,
Pob cenedl, gwlad, ac iaith.

2 Fe adeilada Duw
Ei Sïon wiw heb wâd,
A'i wasgaredig dwg i hon,
Modd tirion, at eu Tad.

3 'Nol cael ei blant yn nghyd,
Yn hyfryd fe'u iachâ,
Gan rwymo'r ysig galon friw,
Mab Duw sydd Feddyg da.

4 Mawr yw ein Harglwydd ni,
Aneiri' yw ei nerth,
Dyrchafu'r holl rai llariaidd gwna,
A'r anwir syrthia'n serth;

5 Cydgenwch i Dduw nef,
Darpara ef bob pryd,
O ffrwythau daear rhydd eu rhaid
I holl gre'duriaid byd.

6 O Sïon, canmol di
Y Duw sy'n rhoddi'r hedd,
A phob cysuron it' yn nghyd,
Nes myn'd trwy'r byd i'r bedd.

**893.** *Mawl y greadigaeth...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 148.)

HOLL lwythau Adda dowch,
Doed nef a daear faith,
Mawl i'ch Creawdwr rhowch
Yn eich priodol iaith:
Y dysglaer lu, angylaidd, glân,
Mewn bydoedd fry gwnewch ddechreu'r gân.

2 Yr haul â'i lewyrch cry',
Y lloer i'r nos sy'n llyw,
A'r sêr gwreichionog fry,
Yn unol molwch Dduw:
Eich defnydd wnaeth â'i air o'r nef,
O ddim y daeth i'w foli ef.

3 Holl lwythau tir a môr,
Moliennwch Iôr y nef;
Gwynt, tarth, ac eira oer,
Rhowch barch i'w eirchion ef;
Daranau clau, pan ruoch draw,
A'r mellt wrth wau, rhowch glod i'w law.

**894.** *Mawl y greadigaeth...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 148.)

Y GREADIGAETH gref,
Pob anian a phob byw;
Yn uchelderau'r nef,
Yr holl angylion gwiw;
Haul, lloer, a sêr, goleuni llon,
Molwch yr Arglwydd ger ei fron.

2 Molianned nef y nef,
A'r wybren sy'n rhoi maeth,
Ei enw sanctaidd ef;
A'i air o ddim, fe'u gwnaeth:
Eu cynal mae, o oes i oes,
A chadw maent y ddeddf a roes.

3 Gwyr ieuainc, hardd eu gwedd.
A'r holl wyryfon glân,
Hen bobl yn mîn y bedd,
Plant bach yn llon eu cân;
Clodforent enw'r Arglwydd Dduw;
Ef o bob mawredd teilwng yw.

4 Ei unig enw Ef
Yn ddyrchafadwy sydd;
Uwch daear, uwch y nef,
Hyd byrth ei fawredd fydd:
Efe yw nerth a mawl ei saint,
Pobl agos ato, mawr eu braint.

**895.** *Pawb i foli Duw...M. N.* 5, 6–2*il.* (Salm 148.)

O MOLWCH yr Iôn,
Trwy'r nefoedd aed sôn,
Boed llu'r uchelderau yn gywir'r un dôn;
Angylion, heb ri',
Cydunwch â ni,
Yr enw Jehofa sydd deilwng i ti.

2 Gwŷr ieuainc drwy'r byd,
Gwyryfon yn nghyd,
Henafgwŷr a llanciau, O cenwch i gyd;
Clodforwch yn awr
Yr Arglwydd sydd fawr
Dyrchafer ei enw drwy'r nefoedd a'r llawr.

3 Ardderchog iawn yw
Gweithredoedd ein Duw,
Drwy'r nefoedd a'r ddaear myneged pob rhyw,
Uwch pob peth yw braint
Dragywyddol y saint,
Hwynt hwy a ddyrchefir uwch niwed a haint.

4 'N uwch Israel cân di,
Na llanw na lli',
A chofia'r croeshoeliad ar fryn Calfari;
Pe tawai pob tant
Na thawed un sant:
O molwch! 'rwy'n teimlo fy enaid mewn chwant.

**896.** *Pawb i foli Duw...M. B.* (Salm 148.)

I DDUW rhowch foliant clau,
Yn uchelderau'r nef,
Cerubiaid a Seraphiaid llon,
Angylion molwch ef.

2 Chwychwi'r dyfnderau mawr,
A'r holl elfenau 'nghyd,
A'r coedydd ffrwythlawn o bob rhyw,
Rhowch fawl i Dduw i gyd.

3 Holl fawrion daear dowch,
Cynghanedd rhowch yn nghyd,
I foli'r dyrchafedig Dduw,
Tra fyddoch byw'n y byd.

4 Yn siriol doed y saint,
Am eu rhagorfraint fawr;
Gwir Israel Duw sydd îs y nef,
Moliennwch ef yn awr.

**897.** *Mawl yn Sion...M. N.* 6, 6, 8. (Salm 148.)

CHWI feibion cedyrn dowch,
Mawl rhowch i Dduw yn rhwydd,
Mewn gogoneddus nerth,
Yn brydferth yn ei wydd,
O fewn ei dŷ, yn gu ar gân,
Rhowch union glod i'w enw glân.

2 Mae yno'n Frenin hedd
Yn eistedd yn ei barch,
Cyfranu bendith wna
Ar drugareddfa'r Arch;
Maddeu yw iaith ei gyfraith gu,
Er mwyn ei Fab, tan hoelion fu.

**898.** *Llawenhau yn Nuw...M. S.* (Salm 149.)

CENWCH i'r Arglwydd, ac iawn fydd
Ryw ganiad newydd ryfedd!
A chlywer yn nghyn'lleidfa'r saint
Ei fawr fraint a'i orfoledd.

2 Boed Israel had yn llon a ffraeth
Yn Nuw, a'i gwnaeth yn ddibrin;
A byddant hyfryd, Sïon wiw,
Yn Nuw, eu tirion Frenin.

3 A dyma'r glân anrhydedd fydd
I'w saint y sydd yn credu;
Clodforwch oll yr Arglwydd nef,
O molwch ef am hyny.

**899.** *Moler ef gan bawb...M. N.* 7, 6, 7. (Salm 150 )

MOLWCH Dduw, sy Frenin fry,
A'i lysoedd ar y llawr;
Molwch Dduw y cariad cu,
Gan ei gyhoeddi'n fawr:

Am ei holl weithredoedd mâd,
A'i gadernid, molwch ef;
Am ei ddoniau rhyfedd rhad,
Molianned dae'r a nef.

2 O canmolwch dros y byd
Emanuel a'i ddawn;
A chyhoeddwch ef o hyd
Yn Dduw y lluoedd llawn:
Molwch ef â thànau per,
A nefolaidd gelfydd gân;
Gwnawn beroriaeth i Dduw Nêr,
Peroriaeth calon lân.

3 Cenwch—"Ynddo'r ŷm yn byw,
Yn symud, ac yn bod;"
Brenin a Gwaredwr yw,
Rhowch iddo barch a chlod;
Boed ei enw'n sanctaidd byth,
Ar y ddaear, yn y nef;
Moler Iesu tra bo chwyth,
Molianned pobpeth Ef.

**900.** *Moliant i barhau...M. S.* Salm 150.)

YN nhŷ ein Duw, rhodfeydd ei ras,
Rhowch yno ma's ei foliant;
A'ch calon codwch fyny i'r ne',
Can's dyma le'i ogoniant.

2 Cyffroed eich holl serchiadau'n gry',
Wrth ganmol ei weithredoedd;
Ond gwaith ei ras sy' goruwch clod,
Rhy fawr i'ch tafod adrodd.

3 Pob perchen bod ac anadl byw,
Bendithiwch Dduw, mae'n hyfryd,
Rhowch gydgerdd foliant i barhau,
Clodforwn ninau hefyd.

# Y DRYDEDD RAN;

YN CYNWYS

## HYMNAU YCHWANEGOL, ANTHEMAU, &c.

---

**901.** *Duw'n teilyngu clod...M. C.* 8; 6.

TYDI wyt deilwng o fy nghân,
Fe Nghrewr a fy Nuw;
Dy ddoniau o fy amgylch maent,
Bob mynud 'rwyf yn byw.

2 Mi glywa'r haul a'r lloer a'r sêr,
Yn datgan dwyfol glod;
Tywynu'n ddysglaer'r wyt o hyd,
Trwy bobpeth sydd yn bod.

3 O na foed tafod dan y rhod
Yn ddystaw am dy waith;
Minau fynegaf hyd fy medd
Dy holl ddaioni maith.

4 Diolchaf am dy gariad cu,
Yn estyn hyd fy oes,
Diolchaf fwy am Un a fu
Yn gwaedu ar y groes.

**902.** *Moliant yn fraint...M. H.*

NID all angylion pur eu dawn
Fynegu fyth dy glod yn llawn:
Ond O mor wael yw'r mawl a'r bri
A gân marwolion fel nyni!

2 Diderfyn glod a moliant sy
Yn llenwi'r holl ardaloedd fry:
I'r ogoneddus dorf ddiri',
O mor anhebyg ydym ni!

3 Ni blant droseddwyr gwael eu rhyw
Yn cael addoli'r unig Dduw;
Rhyfeddod fod ein Harglwydd hael
Yn derbyn ein haddoliad gwael!

4 Pan fo tiriondeb Un yn Dri
Yn hyfryd wenu arnom ni,
Cawn ar ei air ryw newydd flas,
A molwn ef fel Arglwydd gras!

## 903. *Y Drindod...M. H.*

RHOWN ddwyfol glod ar newydd gân
I'r Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glân;
Yr Un yn Dri a'r Tri yn Un,
Creawdwr a Gwaredwr dyn.

2 Rhyfeddol a dirgelaidd yw
Gweithredoedd a Rhagluniaeth Duw;
Pa saint, gan hyny, yn y nef,
A ddirnad fyth ei hanfod Ef?

3 Nid yw'r tri Pherson yn Dri Duw,
Un hanfod anfesurol yw;
Y Ddwyfol natur sydd o hyd
Yn perthyn i'r Personau i gyd.

4 Pob priodoledd sydd yn Nuw,
Pob enw ac addoliad gwiw,
Perthynant oll yn ddiwahân
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.

5 Yr un gweithredoedd rhyfedd, rhad,
A wnaeth y Mab, a wnaeth y Tad;
Ysgrythyr Duw (nid rheswm dyn)
Sy'n dangos hyn am dano 'i hun.

6 Derbyniwn y gwirionedd mawr,
Nas gallwn ei amgyffred 'nawr:
A moled pawb mewn hwyl ddilyth,
Y Drindod bur anfeidrol byth.

**904.** *Pwy yw hwn?..M. N.* 8, 6—*4ydd.*

WRTH weled Iesu'n dod i'r làn,
'N ol gorwedd yn y bedd fel gwàn,
Y synai'r nef yn un!
O pwy yw hwn, medd nefol lu,
A faeddodd fyddin uffern ddu,
Yn Eden gaeth ei hun?

2 A'i wisg yn goch gan waed i gyd!
Mae harddwch yn ei wyneb pryd,
Rhyfeddol fel yr haul!
Mae yn llefaru hedd yn rhâd,
Cyfiawnder, bywyd, a iachâd;
Gwirionedd Adda'r ail!

3 Ysbeiliodd d'wysogaethau'r glỳn,
Gorchfygodd uffern fawr wrth hyn;
Mae'n eiriol yn y nef!
Mae yn ei wyneb ef iachâd,
Maddeuant, bywyd, a rhyddhad;
Fe genir, 'Iddo Ef.'

**905.** *Tegwch Iesu...M. C.* 8, 6.

IESU yw tegwch mawr y byd,
A thegwch pena'r nef;
Ac y mae'r cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef.

2 Mae'r Iesu'n fwy na'r nef ei hun,
Yn fwy na'r ddaear lâs;
Ac Iesu'n unig fydd fy oll,
Fyth, fyth, o hyn i maes.

3 Mae holl deganau'r ddaear hon,
Fu gynt yn fawr eu grym,
Yn ngwydd fy Iesu'n gwywo i gyd,
Ac yn diflanu'n ddim,

4 Y mae aroglau pur ei ras
Megys aroglau'r nef;
Ac nid oes gymhar îs yr haul
Yn un-lle iddo Ef.

**906.** *Crist yn bob peth...M. S.*

SANCTEIDDRWYDD im' yw'r Oen di-nam,
'Nghyfiawnder a'm doethineb,
Fy mhrynedigaeth o bob pla,
Fy Nuw i dragwyddoldeb.

2 O'i ystlys bur yn cwympo i lawr,
Yn afon fawr lifeiriol,
Hedd a maddeuant sy'n ddidrai,
Fyth i barhau'n dragwyddol.

3 Rhaid imi gael pob gras, pob dawn,
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni chaf, fy enaid prudd
A gyll y dydd yn fuan.

4 Dy wisg dy hun, cyfiawnder hael,
Raid imi gael yn mlaenaf;
Nid oes ond ofnau tan fy mron,
Nes caffwyf hon am danaf.

**907.** *Myned ar ol Crist..M. N.* 8, 6—*3ydd.*

CLYW, f'enaid llwythog euog i,
Beth meddi di am Un
Sy'n Hollalluog enwog Wr,
A'i enw'n dŵr i'r dyn?
A ai di, enaid, ar ei ôl?
Mae'n annherfynol nerthol Nâf:
O cyfod bellach, ynddo cred,
Nac oeda, dywed, Af.

2 Ei eiddo Ef yw'r nef yn awr,
Mae'n Frenin mawr ei fri,
A phan brïodir ni ag Ef,
Rhoir hawl i'r nef i ni:
A ai di, enaid, ar ei ol?
Mae yn anfeidrol nerthol Nâf:
Nac ofna mwyach, ynddo cred,
Ymnertha, dywed, Af.

3 Pan elych trwy'r Iorddonen ddu,
Cai lechu yn ei law;
Fe'th ddwg di, enaid llesg, i'r làn,
I'w nefol drigfan draw;
Cai ganu'n llafar gyda'r llu
Sy'n llawenychu yn eu Naf;
A âi di i'w ganlyn, doed a ddel?
O d'wêd yn uchel, Af.

**908.** *Crist yn rhagori...M. N.* 6, 6, 8.

CYFFELYB i fy Nuw
Ni welodd dae'r na nef;
'D oes un creadur byw
Gydmarir iddo Ef:
Cyflawnder mawr o ras didrai
Sydd ynddo fythol yn parhau.

2 O enw anwyl iawn,
Anwylaf un yn bod,
Na chlywodd engyl nef,
Gyffelyb iddo erioed:
Rhôf arno 'mhwys, doed dydd, doed nos,
Fe'm deil i'r làn tan bob rhyw groes.

**909.** *Concwest Crist...M. C.* 8, 6.

AR bren y groes ar Galfari,
O f'enaid cofia mwy,
Dy Feichiai mawr, dy Brynwr di,
Ga'dd yno farwol glwy'.

2 Goddefodd chwerw angeu loes,
O cofiwn am ei gur;
Y goron ddrain, a'r bicell fain,
Ac ôl yr hoelion dur.

3 Yn rhad fe ro'dd ei werthfawr waed,
Caw'd ganddo berffaith Iawn;
Fe goncrodd uffern fawr ei grym,
Yn gynar un prydnawn.

4 Am hyny, 'nawr boed ar ei ben
Goronau mawr o glod,
Am iddo yn ein hisél radd
Ein cofio cyn ein bod.

**910.** *Crist yn siampl... M. H.*

FY Mhrynwr cu! mor oleu cair
Fy holl ddyledswydd yn dy air!
Ond yn dy fuchedd sanctaidd di,
Esiampl gyflawn roir i mi.

2 Dy danllyd sel dros Arglwydd nef,
A'th ymostyngiad iddo ef,
Dy gariad a'th addfwynder di,
O na baent oll yn eiddof fi.

3 Nosweithiau oer, mynyddau sy
Yn dystion o'th weddiau di;
O'th demtiad, tyst yw'r anial le,
O'th ymdrech lwyr a'th goncwest gre'.

4 'Rwyt im' yn batrwm, Arglwydd mwyn,
Boed im' dy ddelw rasol ddwyn;
Yna mi wn caf le yn mhlith
Dilynwyr glân yr Oen dros byth.

**911.** *Tywysiad yr Ysbryd... M. C. 8, 6.*

O YSBRYD sanctaidd, cymer di
Yn awr o eiddo Crist:
Eglura a mynega i ni
Nes lloni'n henaid trist.

2 I bob gwirionedd tywys ni,
I beri in' gael byw;
Can's chwilio pob peth yr wyt ti
O ddyfnion bethau Duw.

3 O Ysbryd sanctaidd, dwg ni mlaen
Trwy'r dyrys anial dir;
Bydd i ni'n golofn niwl â than,
Nawdd a goleuni gwir.

**912.** *Ymadawiad y Cristion...M. H.*

NI ddaw 'nghyfeillion têg eu gwedd
I'm hebrwng ond hyd làn y bedd;
Try pawb eu cefnau, dyma'r dydd
Gadawant fi'n fy ngwely pridd.

2 Daw imi dranoeth têg 'rol hyn,
Caf godi fry i Sion fryn:
Fy llwch ddaw'n llwyr o bridd y llawr
Ar ddysglaer wedd fy Mhriod mawr.

3 O! 'r modd dysglaeria'r corph gwael hwn
Yn anllygredig yno, gwn!
Os tebyg i gorph Iesu gwiw,
Pa wedd dysglaeria'r enaid byw?

4 Gorfoledd fydd, heb ing na chur,
Pan una'r corph â'r enaid pur,
A chwrdd yn llawen yn y ne'
A'r Oen fu farw yn ein lle.

5 Ac yno bydd yn gwbl rydd,
Ar angeu wedi cario'r dydd;
Heb unrhyw nychdod mwy, na phoen,
Yn moli'r croeshoeliedig Oen.

**913.** *Son am Iesu...M. C.* 8, 6.

AM Iesu Grist a'i farwol glwy',
Aed miloedd mwy o son;
A d'weded pob rhyw enaid byw,
Mai teilwng ydyw'r Oen.

**914.** *"Amser Duw."..M. N.* 6, 4, 8, 7.

YN awr, fy enaid, clyw,
Yn awr yw amser Duw;
Am gymod teg,
Dy unig adeg yw;
Dy alw di mae Iesu mawr,
O tyred, tyred ato'n awr;
Rhydd fywyd yn dragywydd,
Mae'n Llywydd nef a llawr.

**915.** *Dysgwyliad am oleuni...M. N.* 8,

HIR ddysgwyliais am foreuddydd,
Eto tew dywyllwch sy
Yn parhau i'm hamgylchynu,
Oddi waered, oddi fry:
Beichiau trymion sy'n fy ngwasgu,
Minau'n egwan tan y groes;
Colli'th wyneb tirion, Arglwydd,
Sydd yn ychwanegu'r loes.

2 A ddaw gwawr ar ol y blygain
Sy mor dywyll imi 'nawr?
A ddaw'm gwàr i eto'n uniawn,
Sydd yn teimlo beichiau mawr?
A raid yfed chwerwach ddyfroedd,
Nag a yfodd un o fil,
Cyn fy lladd i lwybrau gwamal,
A fy nwyn i gadw'r cul?

3 O llewyrched Haul Cyfiawnder,
Yn ei nerthol rasol rym;
A dangosed ei effeithiau,
Wedi'r gauaf mwyaf llym;
Euog, aflan, oer, a diffrwyth,
Halogedig oll, wyf fi;
Iesu, ffynon iachawdwriaeth,
A'i rhinweddau oll, wyt ti.

**916.** *Dyddanwch yr Ysbryd...M. H. 6 llin.*

'RWY'N cofio gair fy Iesu mawr,
Y doi'r Dyddanydd ata' i lawr,
Na chawn i farw o dristwch mwy:
O Dduw cyflawna d'air i ben;
Rho im' Arweinydd îs y nen,
Ddangoso'r ffordd, iachâo 'nghlwy'.

2 Na âd fi, Arglwydd, tra f'wyf byw,
I ddwyn gwaradwydd o un rhyw,
Ar dy efengyl ddwyfol wir:
Na gwyro oddiwrth dy Ysbryd rhad,
Neu fathru gwerthfawrocaf waed
Yr aberth llawn haeddianol pur.

**917.** *Ei lusern yn diffodd...M. N. 12au.*

AR làn yr Iorddonen mewn dyrus anialwch,
Fe dry holl oleuni'r annuwiol yn d'wyllwch,
O'i amgylch y rhua bwystfilod am 'sglyfaeth,
Drwy swn cenllif afon glyn cysgod marwolaeth:
Ond heulwen gogoniant dywyna i'r Cristion,
Nes iddo iach rydio i hyfryd fro Sïon.

2 Diffodda ei lusern bydd yntau mewn cyffro,
Heb obaith eu gweled byth mwyach yn gwawrio:
Marwolaeth yn unig sydd yno'n cartrefu,
A lleni tywyllwch rydd dros ei ffenestri:
Ond heulwen gogoniant &c.

3 Mewn pryder ymwrendy oes neb yn dod heibio
Rydd air i'w ddyddanu, neu lamp i'w oleuo;
Ond swn troed addewid ni chlywir yn unlle,
Na dim ond trwm adswn cerddediad yr angeu!
Ond heulwen gogoniant &c.

4 O'r diwedd dan riddfan mae'n llithro i'r afon!
Pa dafod byth draetha fawr ing ei wasgfeuon!
Heb fyw ac heb farw, heb nofio, na soddi,
Fe'i teflir i lync-lyn o fythol drueni!
Ond heulwen gogoniant &c.

**918.** *Maddeuant...M. H. 6 llin.*

O MADDEU'R holl bechodau mawr,
Ac arbed bryfaid gwael y llawr;
Hyn yw dy nefol oruwch-nod,
Ac ni chaiff arall ran o'r clod:
Pa Dduw sy'n maddeu fel tydi,
Yn rhad, ein holl bechodau ni?

2 Llu nef a llawr, rhowch heibio'n glau
Son am eich gras, na thrugarhau;
Rhagoriaeth fawr Jehofa yw,
A choron ei ogoniant gwiw:
Pa Dduw sy'n maddeu, &c.

3 O boed i'r gras anfeidrol gwiw,
A'r gwyrthiau mawr o gariad Duw,
I lenwi'r ddaear faith â'i glod,
Hyd nefoedd fry ar beraidd nôd!
Pa Dduw sy'n maddeu, &c.

**919.** *Gweddi ddirgel...M. H.*

DYLEDSWYDD fawr arbenig yw,
Mewn dirgel fan, weddio ar Dduw;
Arferai Crist wneyd hyny ei hun,
Gan adael siampl in' bob un.

2 A'r rhai ŷnt ei ddysgyblion Ef,
Yn rhodio union ffordd y nef,
Maent yn y dirgel yn ddiwad
Yn ceisio gwên eu nefol Dad.

3 O gwyn eu byd y rhai sy'n dwyn
I'r 'stafell ddirgel eu holl gŵyn;
Cânt yn ddi-os lawn esmwythâd
O'u holl flinderau gan Dduw Dad.

4 Pan na wêl llygad mo'nynt mwy,
Na chlust yn gwrando arnynt hwy,
Arnynt, pryd hwn, mae 'i lygad Ef,
A'i glust agored i eu llef.

5 Ac yna pwy fynega faint
Y budd, y llwydd, a'r uchel fraint,
O gymdeithasu gyda Duw?
Sef, gwel'd ei wyneb Ef, a byw!

6 Wrth hyn cânt nerth o'r nef wrth raid,
A chânt lawenydd yn ddibaid:
Cynydda'u ffydd a'u gobaith gwiw,
A llenwir hwy â chariad Duw.

**920.** *Tristwch yn darfod...M. N.* 8, 7.

DERFYDD yfed dyfroedd Mara,
Derfydd bwyta surion ddail
Derfydd cario'r groes a'r cleddau,
I ganlynwyr Adda'r ail;
Ardal lonydd heb elynion
Sydd yn sicr i'r holl saint,
Gyda'r Oen ar fynydd Sion,
Annherfynol fydd eu braint.

**921.** *Llwyddiant Sion...M. N.* 10*au.*

MAE Sion wan yn gruddfan ar y llawr,
Bydd yn y man yn fam i dyrfa fawr,
Mae'r arfaeth rad a gwerthfawr waed yn un,
A gair y llw i gyd am gadw dyn.

**922.** *Dydd yr Arglwydd...M. H.*

HENFFYCH i'r Sabboth, hyfryd ddydd,
I'r meddwl fod mewn hedd yn rhydd;
Dydd i fod gydâ Duw a'i waith,
Y dydd melysaf yw o'r saith.

2 Rho im' O Dduw, trwy fywiol ffydd,
Fod yn yr Ysbryd ar dy ddydd;
Fy meddwl a ehedo draw,
Nes gorphwys yn y byd a ddaw.

3 Fy holl Sabbothau yn y byd,
Fo yn fy mharotoi o hyd,
I Sabboth perffaith nefol wlad,
A fydd ddiderfyn ei barhad.

**923.** *Brawd gerbron yr orsedd...M. N.* 8, 7.

MEWN tymhestloedd ac mewn 'stormydd,
Hyn a ddeil fy mhen i'r làn,
Fod im' Frawd gerbron yr orsedd,
'N cofio am fy enaid gwàn;
Byw bob amser mae i eiriol,
Yn mhob tywydd mae E'r un;
Ac am hyn fe'm gwelir inau,
Ar ei wedd yn hardd fy llun.

2 Yna derfydd gorthrymderau
'R anial fyd lle 'rwyf yn byw;
Caf ryddhad o bob gofidiau,
Caf orphwyso gyda Duw;
Derfydd teithio glyn wylofain,
Pan derfyno'm marwol chwyth;
Fry fy nifyr waith fydd canu,
Caru, a rhyfeddu byth.

**924.** *Galwad i'r winllan...M. N.* 8, 7.

DEWCH i loffa ie'nctid dawnus,
I gysurus faes y gair,
Y mae'r trysor ond ei feddu,
'N well nâ phwysau'r byd o aur:
Sefwch arno heb ddiffygio,
Hyd nes elo'ch haul i lawr;
Melys bwyta'r nefol ffrwythau,
Yn y tragwyddoldeb mawr.

2 Dewch blant bychain gwych yw'ch gweled,
Ar y drydedd awr o'r dydd;
Dewch ieuenctid ar y chweched,
Uchel alwad arnoch sydd:

Dewch rai ereill ar y nawfed,
Cyn y delo'r hwyr brydnawn;
Dewch hen bobl cyn ddeuddegfed,
Hi aeth yn ddiweddar iawn.

3 Pwy a welai'n dod a gwisgoedd
Hardded a goleuni'r wawr,
Yn cusanu'r crwydryn eiddil,
Ar ei wddf yn syrthio i lawr:
Uwch ac uwch yn awr dyrchafa
Tanau'r nef eu sain yn nghyd;
O! a ydyw'th werth di gymaint?
F'enaid bach, a wyt mor ddrud?

**925.** *Cyhoeddiad yr Efengyl...M. N. 7iau.*

MAE'R Efengyl werthfawr lawn,
Yn cyhoeddi'n eglur iawn,
Anchwiliadwy olud Crist,
I bechadur egwan trist.

2 Gwledd yw hon a geir i ddyn,
O arlwyad Duw ei hun;
Cymod rhad a chyfoeth mawr,
I dylodion llymion llawr.

3 Doed preswylwyr byd o'r bron,
I fwynhau bendithion hon:
A dyrchafer baner gras,
Yn holl gyrau'r ddaear las.

4 Na foed enw neb yn fawr,
Ond Efe trwy'r ddaear lawr,
A oddefodd ar y pren,
Er ein mwyn—Amen, Amen.

**926.** *Diolch am Efengyl...M. N.* 10, 7.

DIOLCH i ti, yr Hollalluog Dduw,
Am yr Efengyl sanctaidd

2 Pan oeddym ni mewn carchar tywyll du,
Rho'ist in' oleuni nefol.

3 O aed, O aed yr hyfryd wawr ar led:
A llanwed gonglau'r ddaear,
Haleluia, Amen.

**927.** *Emyn genadol... Ton Liston.*

DDILYNWYR Crist! deffrowch, deffrowch!
I anfon yr efengyl dowch:
Rhowch, rhowch o'ch da a chodwch gri—
'O doed, O doed y Jubili.'
Henffych, henffych fore tirion,
Pan bo'r hollfyd o un galon,
Yn moliannu brenin Sïon:
Haleluia, Haleluia,
Haleluia, Amen.

2 Y fagddu fawr yn fuan ffŷ;
Mae'r wawr ar dori oddi fry;
Y duwiau mân dyfethir hwy,
A neb ond Iesu'n Arglwydd mwy.
Henffych, henffych, &c.

3 Un nefol anthem, nefol lef,
Cyn hir a glywir dan y nef,
Can's holl deyrnasoedd daear lawr,
A ânt yn eiddo Iesu mawr.
Henffych, henffych, &c.

4 Hyfrydol gân y Jubili
A seinir dros ein daear ni:
Pob lle, pob iaith, pob llwyth, pob lliw,
Yn cyd ddyrchafu Iesu gwiw.
Henffych, henffych, &c.

**928.** *Pob peth yn dda...M. H.*

YN awr mewn gorfoleddus gân,
Dyrchafa'm llais i'm Harglwydd glân;
Yn nghyda 'i saint cydseinio wna'
Fy Iesu wnaeth bob peth yn dda.

2 Mor ddoeth, mor dda, mor hawddgar yw
Trefniadau gras fy Mhrynwr gwiw,
I'm hachub rhag uffernol dân!
Pob peth yn dda wnaeth Iesu glân.

3 Trwy demtasiynau maith diri',
Bu'n gymhorth cryf i'm henaid i:
Tra byddwyf byw ei foli wna',
Can's Iesu wnaeth bob peth yn dda.

4 Er rhuo arnaf uffern fawr,
Yn nghyda drygau maith y llawr,
Digon i mi fydd gras fy Nuw;
Pob peth yn dda wnaeth Iesu gwiw.

5 Ac wrth fyn'd trwy'r Iorddonen ddû,
Caf brofi hedd fy Mhrynwr cu:
Er chwyddo'r tònau, canu wna'.
Fy Iesu wnaeth bob peth yn dda.

6 A phan gyrhaeddaf uwch y nen,
I blith cantorion nefoedd wen,
Uwch na seraphiaid seinio wna',
Fy Iesu wnaeth bob peth yn dda.

**929.** *Bedydd plant...M. H.*

CYMERWYD gynt gan Fab y dyn,
Blant bychain yn ei freichiau 'i hun;
"Ac na waherddwch hwynt (medd ef)
Can's eiddynt hwy yw teyrnas nef."

2 O'n bodd dilynwn ninau'n awr
Esiampl gu yr Iesu mawr;
Pwy gauai ddrws ei eglwys ef,
Ac yntau'n agor drws y nef?

3 Mae modd i olchi yn y gwaed,
A rhoi i faban gwan iachâd;
Am hyn dyrchefir melus gân
Gan dorf ddirif yn Salem lân.

4 Am hyn nesawn, mae Crist yn gwa'dd,
Awn at ei borth bob oed a gradd;
Awn â'n babanod gyda ni
I'r ffynon gaed ar Galfari,

**930.** *Bedydd plant...M. S.*

O'I gariad gynt dywedodd Naf,
Yn Dduw mi fyddaf iti;
Dy hil fendithiaf, ac amlhant,
A hâd a fyddant imi.

2 Trwy hyn sancteiddiodd Lydia 'i thŷ,
Pan gredodd hi yn ebrwydd;
Ceidwad y carchar yr un modd
Ei deulu rodd i'r Arglwydd.

3 Y saint diweddar yr un wedd,
Yr un gwirionedd gredant;
Eu plant a ddygant i Dduw'n awr,
A'i fendith fawr arddelant.

**931.** *Bedydd plant...M. S.*

NESAED holl belledigion byd
A'u plant yn nghyd at Iesu;
Mae'r hwn fu'n gwisgo'r goron ddrain
Yn galw'r rhai'n i nesu.

2 Ceir drwy ei Aberth ef a'i waed
Gyfiawnder rhad i'r truan;
Ac am ei ras boed bythol fri
Caed modd i olchi baban.

3 Nid rhaid enwaedu gweiniaid mwy
Caed modd trwy waed Calfaria,
I ddwyn at Dduw rai pell a'u hâd,
A maddeu'n rhâd y beiau.

**932.** *Cwynfan y Cristion...M. N.* 7, 6.

FY Nuw a'm Tad trugarog
Sydd deilwng o bob clod,
Rhyfeddol fu dy ofal
Am danaf fi erioed;
Mewn myrdd o gyfyngderau
Ti fuost imi'n Ffryn'd,
Pan oedd pob beth yn pallu
O'm golwg wedi myn'd.

2 Cyfyngder ar gyfyngder
Sy'n gwasgu o ddydd i ddydd;
'Rwy'n profi diffyg rhyfedd
Amynedd ac o ffydd;
Cryfha fi ar fy siwrnai,
'Rwyf bron a llwfrhau,
A chynal f'ysbryd egwan,
Yn nghanol culni a gwae.

3 Cyfaddef'r ydwyf, Arglwydd,
Y gosb yn llai na'm bai,
A'th fod di mewn cyfyngder,
Yn arfer trugarhau
Trugaredd rho im' eto,
Bechadur gwael ei lun,
A chymer y gogoniant
I gyd i ti dy hun.

**933.** *Goleu o Galfaria...M. H.* 6 *llin.*

PAN fo'i 'n gymylog o bob parth,
A môr a thir yn niwl a tharth,
Mae'n oleu clir ar bren y groes,
'Does cwmwl byth ar Galfari,
Mae'r nef yn oleu yno i ni,
Ac yno mi ddifyra'm hoes.

**934.** *Ffrwythau'r groes...M. N.* 8, 7.

CWPAN llawn o ddiod chwerw
Gadd wrth farw ar y groes,
Heb un dafn o gysur ynddo,
I felysu angeu loes;
Bustl, wermod, melldith pechod,
Pwysau dyrnod mawr ei Dad,
Benthyg bedd a ga'dd i orwedd,
Er ein hedd a'n cyfiawnhad.

2 Tyrfa ddedwydd ydyw'r teulu
Sy'n gwersyllu'n Sïon wiw,
Cyfaneddant yno'n addas,
O fewn caerau dinas Duw;
Yno cânt eu llwyr ddigoni
A'r daioni sy'n dy dŷ,
A dyferion i'w difyru,
Ffrwythau cariad Iesu cu.

**935.** *Afon gras...M. N.* 7, 6.

BENDITHION ar fendithion,
Trysorau angeu loes,
Grawnsypiau mawrion aeddfed
Fu'n hongian ar y groes;
Yr afon loyw lifodd
O ôl y waew ffon,
Caiff miloedd fyned adre'
Yn ngrym yr afon hon.

**936.** *Afon gras...M. N. 11au.*

MAE afon o ras, effeithiol ei blâs,
Ar fynydd Calfaria y tarddodd i ma's,
I olchi fy mriw, a'm clwyfau bob rhyw,
A chànu fy enaid, er dued ei liw.

**937.** *Afon bur...M. N. 11au.*

YR afon a lifodd rhwng nefoedd a llawr,
Yw sail fy ngorfoledd a'm cysur yn awr,
Ar fynydd Calfaria y tarddodd yr hedd,
Oddi yno mae 'nghoncwest ar angeu a'r bedd.

2 O gyfoeth diderfyn o ras ac o ddawn,
A redodd fel afon lifeiriol yn llawn;
Mae'n llifo trwy'r ddaear yn ddysglaer a llon,
Fe nofia myrddiynau i'r bywyd yn hon.

3 Fy mywyd boed bellach yn fywyd o ffydd,
D'orch'mynion i'm henaid yn bleser bob dydd;
Na foed im' hyfrydwch tra fyddwyf yn byw,
Ond rhodio ar y ddaear i ryngu bodd Duw.

4 Cawn gyd a'n Hanwylyd deyrnasu mewn hedd,
Ymhell uwch cyrhaeddiad holl ddychryn y bedd
Cawn wisgo coronau yn filoedd yn nghyd,
A chanmol byth bythoedd Iachawdwr y byd.

**938.** *Y cyfamod gras...M. N. 10au.*

CYFAMOD hedd, cyfamod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le, nid ïe a nage yw,
Cyfamod gwir, ni chyfnewidir 'chwaith,
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

2 Cyfamod rhad o drefniad Un yn Dri;
Hen air y llw, a droes yn elw i ni;
Mae'n ddigon cry' i'n codi i fyny'n fyw;
Ei rym o hyd yw holl gadernid Duw.

3 Fe syrthiodd pen cyfamod Eden, do;
Ni safai'n syth;—bydd tristwch byth o'r tro,
Ond saif yr ail, a'i gadarn sail ni syrth,
Gwnaed uffern gas ei phwrpas gyd a'i phyrth.

**939.** *Titlau Crist...M. N.* 8, 7.

SEREN foreu, Gwreiddyn Dafydd,
  Llew o Juda yw Mab Duw,
Noddfa i lofrudd, Cyfaill beunydd,
  Arch i gadw 'i eiddo 'n fyw,
Allor, Aberth, Archoffeiriad,
  Cerbyd cariad, Meddyg rhad,
Ffynon bywyd, Arogl hyfryd,
  Ffordd i'r euog at y Tad.

**940.** *Pwy yw Hwn?..M. H. D.*

PWY yw? mae'n hoff ei wedd a hardd,
  O'i flaen y chwardd anwylion nef;
Tryliwiog wrîd tlŵs flodau gardd
  A siriol dardd drwy 'i ruddiau ef;
Pelydrau serch yn ddysglaer lu
  A chwery'n gu o'i lygaid gwiw,
Mae'n lân heb fai, ei ail ni fu,
  O hawddgar un, mae'n deg, Pwy yw?

2 Pwy yw? mae'r bryniau'n crynu 'nghyd,
  A'r dreigiau'n crymu dan ei draed,
Gordanbaid nerth sydd yn ei bryd,
  A'i loywaf wisg yn lif o waed;
Gwroldeb ar ei drem ymdaen,
  Grym buddugoliaeth sy'n ei ryw,
Ei holl elynion ysa o'i flaen,
  Heb un o'i du, mae'n gryf, Pwy yw?

3 Pwy ydyw hwn? mae 'i enw'n Iôr,
  A'i ddirfawr drysor yn ddidrai,
O'i fewn y mae haelioni'n fôr,
  Bywha y beius, lladd y bai;

I'r tlawd newynog mae'n rhoi mael,
Mae'n gwisgo'n wyn y du ei liw,
Mae'n hardd, mae'n gryf, mae'n gu a hael,
Clyw Sïon wael, DY IESU YW.

**941.** *Pwy yw hon?..M. H. D.*

PWY yw? mae hon a'i bron yn brudd,
A llwyd ei grudd o dan y groes:
Y cnawd, a'r byd, i'w hymlid sydd,
Braidd colli'r dydd mewn ingol loes;
Grym uffern oll sy'n llethu hon,
Trwy wneyd ei gwirion fron yn friw?
Yn wael a llesg, heb lewyrch llon,
Tan aml dòn mae hon, Pwy yw?

2 Pwy yw? mae'n brwydro'n uwch na'r llawr,
Ymloywa 'nawr fel lleuad ferth;
Mil purach, gwychach yw ei gwawr,
Na'r haulwen ddirfawr yn ei nerth;
Mae'n sengi'n rymus ar y ddraig,
Rhoes naid o'r aig ofnadwy'n fyw,
Mae pwys ei phen ar ddigryn graig,
O ryfedd wraig, mae'n hardd, Pwy yw?

3 Pwy yw? y goncwest droes o'i thu,
Banerau i fyny gwelaf fyrdd,
Mae'n dod yn deg fel dirif lu,
Gan dremio'n hŷf ar Wr o urdd;
Ei Blaenor, cadarn Iôr yw ef,
Mae'n llon ei llef, a'i gwedd yn wiw,
Bu'n wael, mae'n wych; bu'n wan mae'n gref,
Adseinied nef—On'd SION YW?

**942.** *Pwy yw y rhai hyn?..M. H.*

PA ddynion hapus yw'r rhai hyn
Sy'n hardd eu gwedd, mewn gwisgiad gwyn?
O b'le doi'r gogoneddus lu
I wledydd y gogoniant fry?

2 O'r tân a'r poenau, ni waeth p'un,
A moroedd mawr o'u gwaed eu hun:
Ond golchwyd hwynt â gwaed uwch radd,
Sef gwaed yr Oen g'add gynt ei ladd.

3 Nesâu y maent at orsedd Duw,
A'u cerddi peraidd o bob rhyw;
Ni phrofant newyn enaid mwy,
Can's Duw a dyr eu syched hwy.

**943.** *Casglu Israel..M. N.* 11au.

PALMENTWCH y brif-ffordd daw Israel yn llu,
O'r Aifft ac Assyria, a'u Harglwydd o'u tu;
A'u dagrau yn llifo wrth gofio y pren,
Lle'r hoeliodd eu tadau Dywysog y nen.

2 Sain udgorn y Jubil a'u cyfyd o'u bedd,
Mawr fydd eu gorfoledd pan brofont yr hedd;
Mae'r Jubil yn nesu, palmentwch bob dydd,
Y brif-ffordd yn barod, daw'r caethion yn rhydd.

**944.** *Anadlu clod...M. N.* 7, 6.

Mi ganaf tra bo anadl
O fewn y ffroenau hyn,
Am gariad Iesu'n dyoddef
Ar ben Calfaria fryn;
Am goron ddrain blethedig
A'r hoelion garwa'u rhyw;
A'r gwaed a gàna'r euog
Fel eira'n wyn ei liw.

2 Y clod, y nerth, a'r enw,
Y mawl, y parch, a'r bri,
I'r Drindod fo mewn Undod,
A'r Undod pur yn Dri:

Sain mawl ehedo allan,
  Mawl am ei gariad ef,
Drwy ëang anfesurol
  Derfynau dae'r a nef.

**945.** *Rhodiad wrth ffydd...M. N.* 8, 7, 4.

O AM ffydd i ffoi at Iesu,
  Ac i bwyso ar ei Iawn;
Ffydd fo'n fywiog i weithredu
  Arno, mewn ymddiried llawn;
    Pob cyflawnder
  Felly ddaw yn eiddo ffydd.

2 Ffydd dan bob rhyw ragluniaethau
  A weinydda gysur mawr;
Treiddia trwy y tew gymylau
  Nes y cenfydd fore wawr:
    Boed fy rhodiad,
  Nid wrth deimlad, ond wrth ffydd.

**946.** *Dewch i'r ffynon...M. N.* 7, 6.

MAE'R ffynon yn agored,
  Dewch edifeiriol rai,
Dewch chwithau yr un ffunud
  Sydd eto yn pellhau;
Dewch chwi ga'dd galon newydd,
  Dewch chwithau na cha'dd'r un,
I olchi'ch ffiaidd feiau
  Yn haeddiant Mab y dyn.

2 Dewch bechaduriaid bellach,
  I weled goleu ddydd;
Dewch allan o'r carcharau,
  Mae'r pyrth yn awr yn rhydd;
Mae groesaw i chwi ddyfod
  Yn mlaen at fwrdd y wledd,
I dawel gyfranogi
  O nefol fythol hedd.

**947.** *Serch ar y nef...M. H.*

O DDUW, sefydla'm serch a'm bryd
Yn fwy ar bethau bythol fyd;
A'th gyngor yma arwain fi,
A dwg fi i'r gogoniant fry.

2 Gâd i mi wel'd dy nefol wedd,
A chlywed hyfryd lais dy hedd;
Yn dwyn fy nghalon ar dy ol
Oddiar y byd a'i bethau ffol.

**948.** *Aros yn y Ty...M. N.* 8, 7, 4.

PLANA'M corff a'i holl alluoedd,
Plana'm henaid oll o'r bron,
Yn dy dŷ, a chyda'th bobl
Tra b'wyf ar y ddaear hon:
Cymer feddiant,
Cyflawn byth o honwyf mwy.

2 Yn y deml gydag Anna
Mi arosaf ddyddiau f'oes,
Byth o'th dŷ ni cheisiaf ysgog
Er ei myn'd yn dywyll nos;
Gwell bod yno'n
Cadw'r drws, nâ lle'n y byd.

3 Ar ol dysgwyl fel Simeon
Ddyddiau meithion, pwy a ŵyr
Na chaf wel'd dyddanwch Israel,
Megys yntau yn yr hwyr:
Os cyf hyny,
Mewn tangnefedd marw wnaf.

**949.** *Deisyfiad am y gwir...M. N.* 6, 6, 8.

RHAG i mi fod yn ol,
Fel morwyn ffol ddi-fudd,
A myn'd i'r dyfnder mawr,
'N ol darfod gwawr fy nydd,
Ar f'ysbryd dod or'chwyliaeth gref,
I gario nod etifedd nef.

2 I'w wïr ffyddloniaid ef,
Duw nef daioni wna,
Fel tad mewn cariad cu,
Yn rhwydd fe drugarha,
Pan glyw eu llef mewn adfyd llawn
Fe'u dwg i le diogel iawn.

**950.** *Boddlonrwydd...M. N.* 8, 7.

MEWN trallodion na rwgnachwn,
Cofiwn beunydd pwy sydd Dduw;
Ymfoddlonwn i'w ewyllys,
Hyn yn ddilys gweddus yw;
Ymostyngwn i'w drefniadau
Ef ŵyr oreu beth yw'n lles,
Am ein dwyn y mae yn dirion
Trwy bob troion ato'n nes.

2 Ef sydd yn dilladú'r lili,
Ac efe sy'n porthi'r brain,
Llefa'r llewod ieuainc arno
Ac mae'n gwrando ar y rhai'n;
Pa faint mwy y ceidw Sïon?
Hono ar ei galon sy;
Cyn y caiff ei blant newynu
Manna ddyry oddifry.

**951.** *Gweddi pen teulu...M. N.* 8, 7.

MI a'm tylwyth, fy Ngwaredydd,
A gyflwynaf i dy law:
Dwg ni eto at ein gilydd
I'th fwynhau mewn byd a ddaw;
Pan y bo fy nghorff yn pydru,
Yn fy nheulu bydd yn Ben,
Dyro iddynt ras i garu
Crist fu farw ar y pren

2 Maddeu'm diffyg i'w haddysgu,
Maddeu'm beiau o bob rhith,
Tra bûm gyda hwynt yn blaenu
Fel pen-teulu yn eu plith;
Maddeu 'meiau i a hwythau,
Gelli wneyd y du yn wyn;
Anchwiliadwy yw rhinweddau
'R gwaed a lifodd ar y bryn.

**952.** *Cofio am y gwaed...M. N. 8, 7.*

O FY Arglwydd, mae'r amlygiad
O dy gariad ar y groes;
Yn fy ngalw a fy rhwymo
I dy gofio ddydd a nos;
Pwy all byth anghofio poenau,
Gwaed ac angeu un mor gu?
Gwaed, dywalltwyd i gael golchi,
Golchi'n lân aneirif lu.

2 Beth all enill cof a chariad
Gwresog gwastad enaid dyn,
Yn y nef neu ar y ddaear,
Beth oddieithr Crist ei hun?
Cysur llawn a gawn ni ganddo,
Hyn mae'n addo ini'n awr;
Beth! am yfed gwin o newydd
Gyda'n Harglwydd uwch y llawr.

**953.** *Dechreu blwyddyn...M. S.*

MI gefais heddyw ddechreu dydd
O flwyddyn newydd eto;
Terfynwyd gyrfa llawer dyn
Yn nghorff yr un aeth heibio.

2 A gallaf fi, cyn haner hon,
Fod dan ergydion angau;
O Iesu tỳn fi atat ti,
A dysg im' gyfri'm dyddiau.

3 Os gorthrymderau yn y byd
Raid im' o hyd gyfarfod,
Ni ddryga dim fy enaid trist,
Ond im' gael Crist yn briod.

**954.** *Ffoi o Sodom...M. N.* 6, 6, 8.

FFOWN bellach oll ar frys,
Edrychwn yn y blaen,
Mae golwg hyll yn ol,
Sodoma sydd ar dân;
Yn mlaen, yn mlaen i'r creigydd byw,
I Söar deg dan aden Duw.

**955.** *Hyder y Pererin...M. N.* 8, 6—4*ydd.*

PERERIN wyf i'r Ganaan fry,
I gynes gôl fy Iesu cu,
Lle caf dragwyddol nyth;
Yn mhell uwch sŵn y ddraig a'i saeth,
Na gelyn mwy i'm gwneyd yn gaeth,
Caf dawel orphwys byth.

**956.** *Yr Ysgol Sabbothol...M. N.* 11*au.*

YR Ysgol Sabbothol, rhagorol yw hon;
Fel mamaeth fwyn odiaeth mae llaeth yn ei bron:
Hi feithrin â'i moethau, difeiau ei maeth,
Didrai ei llawnderau, didwyll yw ei llaeth.

2 O deuwch chwenychwch laeth didwyll y gair,
Ar hwn wrth ymborthi cynyddu a wnair,
Am hyn dewch yn unfryd holl ie'nctid y wlad,
I'r ysgol, mae'n rheidiol, cewch addysg yn rhad.

3 Chwi gewch eich hyfforddi i ddysgu gair Duw,
Rhyfeddol, a bywiol, a nerthol iawn yw,
Y gair sy'n cyf'rwyddo i deithio tua'r 'nef,
Am fendith i'w ganlyn cyfodwn ein llef.

**957.** *Enw Iesu...M. N.* 8, 7.

ENW melus ydyw'r Iesu,
 Enw gwerthfawroca' erioed,
Enw gorfydd i bob enw
 Blygu'n isel wrth ei droed;
Dyma'r enw sy'n pereiddio,
 Fel yr enaint gwerthfawr drud,
Taenu wnelo 'i bêr aroglau,
 Hyd nes llenwi conglau'r byd.

**958.** *Gwlad Well...M. N.* 8, 6—4*ydd.*

GWLAD dda yw'r nefol wlad, mae'n well
Nag un ar wyneb dae'r yn mhell;
 Gwlad helaeth ffrwythlon yw;
Gwlad gadarn gref, i'r hon ni ddaw
Un gelyn byth i beri braw
 I'r rhai sydd yno'n byw.

2 Gwlad hefyd o wybodaeth fawr,
Tu hwnt i ddim sydd yma' awr
 O fewn i gyrhaedd dyn;
Mae dan lywodraeth o'r fath ryw,
A'r fath gyfreithiau, fel nad yw
 Yn gwasgu o'i deiliaid un.

3 Mae tymer pawb o'i mewn mor dda,
Fel nad oes gormes byth, na thra,
 Na chynhwrf yn eu plith:
Nid oes na chur na chlefyd mwy
I'w gwasgu nac i'w blino hwy;
 Nid ŷnt yn marw byth.

4 Am hyny, p'am mae neb mor ffol
A gado'u serch i fyn'd ar ol
 Y byd anhyfryd hwn?
Gan fod gwlad well tu draw i'r bedd,
Yn wlad o wynfyd, hawddfyd hedd,
 Hi haeddai 'nghalon, gwn!

**959.** *Y drefn gyfryngol...M. N. 7, 6.*

O RYFEDD drefn gyfryngol,
Trefn iachawdwriaeth Duw,
Trefn wych i ladd fy mhechod
A'm cadw inau'n fyw;
Trefn achub y pechadur
Ar lwybr hynod lân,
A threfn i ddifa'm sorod,
O f'enaid bellach cân.

**960.** *Undeb y Saint...M. S.*

WELE fath olwg hyrfyd iawn
Yw brodyr mewn cytundeb;
A'u holl galonau'n uno'n bur,
Yn rhwymau gwir dduwioldeb.

2 Brawdgarwch mwyn ac undeb maith
Yn mawrglod waith yr Arglwydd,
Sydd addas iawn i'r ddinas hardd,
A'r tŷ lle tardd sancteiddrwydd.

**961.** *Afon angeu.—M. B. D.*

MAE yr Iorddonen fawr
Yn dal yn awr ei dw'r,
Yn mlaen yr â holl Israel Duw
Yn llòn trwy hon, bob gwr,
Mae yn ei chanol Arch,
Yn fawr ei pharch a'i bri,
Ac yno saif ein ffyddlon Ffrynd
Nes trwodd fyn'd a ni.

**962.** *Deisyfiad y Pererin,..M. H.*

O DDYDD i ddydd, o awr i awr,
'Rwy'n nesu i'r tragwyddolfyd mawr;
Ac yno byddaf cyn bo hir:
O am gael etifeddu'r gwir!

2 O groes i groes, O don i don,
Ymadaw wnaf â'r fuchedd hon;
Yn fuan af i byrth y bedd:
O am gyrhaeddyd gwlad yr hedd!

3 O nerth i nerth, O daith i daith,
Ymlwybraf trwy'r anialwch maith;
Nid yw'r Iorddonen ddim yn mhell:
O am gyrhaeddyd gwlad sydd well!

4 O dorf i dorf, O gâd i gâd,
A brwydro'n hir â'r ddraig a'i had,
Daw'r frwydr olaf tua'r hwyr,
O am gael buddugoliaeth lwyr!

5 O gur i gur, O loes i loes,
Rhyw haint o hyd yn chwerwi f'oes,
Daw'r olaf cyn pen gronyn bach,
O am gael bod yn berffaith iach!

6 O fryn i fryn, O bant i bant,
Hwn ydyw llwybr blin y plant,
Daw diwedd ar y lludded llawn,
O am gael gorphwys tawel iawn!

**963.** *Ar dir gobaith...M. N. 11au.*

ER maint fy nghaledfyd, fy nghlefyd, a 'nghlwyf,
Tu yma'r gagendor yw'r ochr yr wyf:
Yn nghyrhaedd efengyl fwyn anwyl fy Nuw,
Mae gobaith am danaf tra byddwyf fi byw.

2 Gogoniant! gogoniant! fod llwyddiant i'r llef,
Sy'n dyfod â bywyd, yn ysbryd y nef; [fyw,
Mae'n gwneyd plant afradlon, oedd feirwon yn
A thorf o elynion yn ddynion i Dduw.

**964.** *Ffydd yn cyfiawnhau...M. H.*

OFER yw gobaith pob rhyw ddyn
Sy'n pwyso ar ei waith ei hun;
Wrth natur, calon pawb sydd ddrwg,
Ffrwyth pur na gweithred dda ni ddwg.

2 Iesu dy ras mor werthfawr yw,
Pan gredom yn dy enw gwiw,
Derbyn cyfiawnder mae ein ffydd,
A gyfiawnha'r pechadur prudd.

**965.** *Ffydd yn cyfiawnhau...M. S.*

NI feddaf weithred dda yn wir
I'w gwneuthur yn ddianaf,
Wrth ystyr hyn ni welaf fi
Ond mawr dylodi arnaf.

2 Ond pan osodo ffydd ger bron
Fawr chwerwon loeson Iesu,
Gan grybwyll mewn llef ddystaw fain—
Ti bia rhai'n i'w meddu;

3 Fy amser felly heibio'r â
Mewn heddwch a boddlondeb;
Bydd, haner nos fel haner dydd,
Llawenydd yn fy ngwyneb.

**966.** *Crist yn Gyfaill...M. N.* 8, 7, 8.

Y MAE un uwchlaw pawb eraill
Drwy'r gre'digaeth faith i gyd
Sydd yn haeddu 'i alw'n gyfaill,
Ac a bery'r un o hyd:
Brawd a anwyd i ni yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.

**967.** *Hiraeth am burdeb...M. H.*

CAN mil o weithiau gwyn fy myd,
Ca 'i goncwest ar fy meiau i gyd,
A bod yn bur o mewn, o maes,
A darfod son am bechod cas.

**968.** *Wrth ymadael...M. N.* 8, 7.

ARGLWYDD gollwng dan dy fendith,
Bawb i 'madael yn dy hedd,
Trwy ymborthi ar y Manna,
Efengylaidd, dwyfol wledd;
Llanw'n meddwl â'th gysuron,
C'od ein llais i foli'r Iôn!
Yna y'nghwm'ni'r hardd angylion,
Canwn i ti â pheraidd dôn,
Dros fyth Haleluia,
I Dduw ac i'r Oen,
Haleluia, Haleluia, Amen.

**969.** *Agoriad Addoldy...M. H.*

AI gwir y preswyl Duw ei hun
Ar ddaear isod gyda dyn?
A arddel Ef, o'r orsedd frŷ,
Ein gwael adeilad iddo'n dŷ.

2 Nesawn i'w ŵydd, a chyda blâs,
Mynegwn rin gwaredol râs:
Fe gofiodd wael syrthiedig ddyn,
I'w alw a'i dynu ato 'i hun.

3 O Dduw datguddia faint dy wyrth,
I'th anwyl bobl o fewn dy byrth;
A phan weddïont arnat clyw,
A maddeu'u bai, fel byddont byw.

4 Rho wedd dy wyneb i'w fwynhau,
Yn y lle hwn, i'n llawenhau,
Rho gael cymdeithas bur â thi,
Yn sanctaidd ordinhadau'th dŷ.

5 A gweler yn yr olaf ddydd,
Pan y datguddir pethau cudd,
Pa dyrfa fawr oddiyma gaed,
O dlysau'r nef a gwerth y gwaed.

**970.** *Marwolaeth plentyn...M. N.* 8, 7.

EFFAITH pechod a ganfyddwn
Os edrychwn yma'n awr;
Fe ddaeth angeu i dori'r gwelltyn,
A'i flodeuyn aeth i lawr;
Fe ddaw'r diwrnod cawn ni weled
Pethau heddyw sydd yn nghudd,
Mae ei lwybrau yn y moroedd,
Ceir eu gwel'd fel goleu'r dydd.

**971.** *Y bedd...M. C.* 8, 6.

CLYWCH! pa ryw lais o'r bedd sy'n dod,
Fy nghlust, O gwrando'r wys;
Chwi ddynion byw, O trowch i wel'd
Y fan lle dowch ar frys.

2 Fonedd, y clai eich gwely fydd,
Yn lle'ch palasau gwych;
Y cryf, y doeth, y parchus wr,
A ddont yn wael eu drych.

3 Duw mawr! ai'n terfyn ydyw hyn?
O boed in' o un fryd
Tra'n teithio beunydd tua'r bedd
Ymbarotoi ò hyd.

4 Rho in' o'th ras sancteiddiol pur,
Fel gallom oll mewn hedd,
'Nol rhoddi'r marwol gorff i lawr,
Ehedeg uwchlaw'r bedd.

**972.** *Yr adgyfodiad...M. S.*

MYFI yw'r adgyfodiad mawr,
Myfi yw gwawr y bywyd:
Caiff pawb a'm cred, medd f'Arglwydd Dduw
Er trengu, byw mewn eilfyd.

2 A'r sawl sy'n fyw mewn ufudd gred,
I mi, caiff drwydded nefol,
Na allo'r angeu, brenin braw,
Ddrwg iddaw yn dragwyddol.

3 Yn wir, yn wir, medd gwir ei hun,
   Pob cyfryw ddyn sy'n gwrando
Fy ngair, gan gredu'r Tad a'm rhoes,
   Mae didranc einioes ganddo.

4 Yr hwn sy'n awr yn ufuddhau
   Trwy ffydd i'm geiriau hyfryd,
Ni ddaw i farn, ond trwodd aeth
   O angeu caeth i fywyd.

**973.** *Ail ddyfodiad Crist...M. N.* 8, 7, 4.

GWELIR Iesu'n ogoneddus,
   Yn ei ail ddyfodiad glân,
Gwelir miloedd iddo'n plygu
   Na phlygasant iddo o'r blaen,
      Gwelir hefyd
   Fyrdd yn dechreu llawenhau.

**974.** *Golwg ar y nef...M. H.*

RHEDWN ar frys, mawr ydyw'r fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint;
Er maint yw'r llid, par'toed ein lle
Yn mynwes Naf o fewn i'r ne'!

2 Draw mae ein Iesu mawr a'n Duw,
A brodyr fyrddiwn ini'n byw;
Mae yno rai'n clodfori o hyd,
Fu'n teithio gyda ni'n y byd.

3 Mae gwir lawenydd uwch y nen,
Fel olew pur i loni'm pen:
Ac mi gaf ran o ogoniant fry,
Pan buro gras fy nghalon i.

4 Caf wel'd a chlywed yno 'nghyd,
Oll a ddymunais yn y byd;
A'm henaid a gaiff felus waith,
Yn y tragwyddol fywyd maith.

**975.** *Golwg ar y nef ..M. N. 8, 7.*

DACW'R ardal, dacw'r hafan,
Dacw'r nefol hyfryd wlad,
Dacw'r llwybr pur yn amlwg,
'R awrhon tua thŷ fy Nhad;
Y mae hiraeth yn fy nghalon,
Am fod heddyw draw yn nhre',
Gyda'r myrdd sy'n canu'r anthem,
Anthem cariad iddo fe.

2 Mae fy hwyliau heddyw'n chwareu,
'N llawen yn yr awel bur,
Ac 'rwy'n clywed sŵn caniadau,
Peraidd baradwysaidd dir;
Ffarwel haul, a lloer, a thrysor,
Ffarwel ddaear, ffarwel ddyn;
Nid oes dim o dan yr wybren,
Ag sy'n fawr ond Duw ei hun.

3 Cauwch lygaid, nac agorwch,
Ar un gwrthrych îs y ne'!
Craffa f'enaid olwg syml,
Ar 'i ogoniant dwyfol E';
Mae ei hanfod, mae ei enw,
Mae ei berson sanctaidd pur,
C'uwch oddiar deganau natur,
Ag yw'r nefoedd uwch y tir.

**976.** *Y nefoedd a'i phreswylwyr...M. H.*

O AM gael golwg hoff o'r wlad,
A gorsedd ein tragwyddol Dad,
Lle'r eiste'n Prynwr mawr ei fri,
Mewn corph cyffelyb i'n cyrph ni.

2 Y saint o'i gylch addoli maent;
A holl lu'r nef cyd blygu wnant,
A Duw'n llewyrchu maes trwy'r dyn,
Ei bur ogoniant ar bob un.

3 Pa bryd daw'r dydd, fy Arglwydd Dduw,
Caf finau esgyn yno i fyw;
Sefyll a phlygu yn eu plith,
Gwel'd, moli, a channol f'Arglwydd byth?

**977.** *Tawel orphwysfa...M. N.* 7, 7, 8.

Y TIR dymunol sanctaidd,
Yr ardal hyfryd buraidd,
Ag oedd yn mhell yn sefyll draw,
A ddaeth gerllaw o'r diwedd:
Er lludded, ac er blino,
Na fydded in' ddiffygio,
Wrth fyn'd nes nes, ni awn ar frys
I mewn i'r llys yn gryno.

2 Cawn orphwys yn ddiangol
O'n temtasiynau'n hollol,
Mewn maith dangnefedd pur didrai
Sydd i barhau'n dragwyddol:
A hyfryd ymddifyru
Yn ein hanwylaf Iesu,
A threulio Sabboth nefol gwiw
Tragwyddol i'w foliannu.

**978.** *Gwerthfawrogrwydd Crist...M. N.* 10au.

CRIST yw ein gwledd, ein hedd a'n cyfiawnhad,
Ffordd union rwydd i'n dwyn i wydd ei Dad:
Ei arogl Ef sy'n llanw'r nef heb drai,
Pereiddio mae weddiau'r gwaelaf rai.

2 Ymuno wnaeth â'n natur isel ni,
A'i chodi'n uwch na'r angel ucha'i fri,
Ei glod a'i fawl fo'n uchel yn ein plith,
Yr eglwys fry ni phaid a'i foli byth.

**979.** *Mawl i Dduw...M. N.* 8, 6, 8, 8.

CYDRODDWN fawl i'n Harglwydd Glân,
Dyrchafwn gân o glod,
Am iddo'n cofio ni rai gwael,
A'n caru cyn ein bod;
A rhoi ei Fab etifedd ne'
Yn llwyr i'r lladdfa yn ein lle.

2 Rhown iddo glod can's teilwng yw
O'n calon seiniwn gân,
Molianned pawb yr Arglwydd Dduw
Trwy'r ddae'r a'r nefoedd lân,
Ei fawl, ei fawl a bery'n hwy
Nag y ceir diwedd arno mwy.

3 Hosana i'r goruchaf Dduw,
Yw cân y dyrfa fry,
Cyduned pawb â chalon wiw
Trwy'r ddaear fawr yn llu;
Y clod, y mawl boed iddo byth,
Gan bawb trwy'r byd tra ynddynt chwyth.

**980.** *Mawl i Dduw...M. N.* 6, 6, 8, 8.

MOLIANNED pawb ein Duw,
Tra uchel ydyw'r fraint,
Ei fawl a bery'n hwy na'r nef,
Gan dyrfa gref y saint;
Ei ras a'i gariad mawr cyn byd
Fydd testyn cân y teulu 'nghyd.

**981.** *Mawl i Grist...M. N.* 8, 7, 8, 8.

CLODFORED pawb yr Iesu Glân,
O'i flaen â chân doed pobloedd,
Am iddo ddod i lawr o'r nef,
Molianner ef gan luoedd;
Ei fawl a'i glod a lanwo'r byd,
Fel nefoedd fry boed dae'r i gyd.

2 Bu'r Iesu farw ar y groes,
Dyoddefodd loes ein haeddiant,
Er mwyn i'r gelyn i gael hedd;
Coronwn ef â moliant:
I'w enw pur rhoir clodydd llon,
Gan dorf ddirif, byth ger ei fron.

## Hymnau Dirwestol.

**982.** *Baner Dirwest...M. N.* 6, 6, 8.

I'R làn a'r faner fawr,
Mae Dirwest wedi d'od
O lŷs y nef i lawr,
Cawn chwareu clychau clod:
O dewch, O dewch, mewn hyfryd hwyl,
Dewch, dewch i gyd i gadw gwyl.

2 Mae llais o ddirfawr hedd
Hyd heddyw ar eich ol:
Myn Dirwest hardd ei gwedd
Eich derbyn yn ei chol:
O dewch, O dewch, mewn hyfryd hwyl,
Dewch, dewch i gyd i gadw gwyl.

**983.** *Baner Rhinwedd...M. C.* 8, 6.

MAE baner rhinwedd ar y maes,
A phechod cas yn ffoi,
Ac o du sobrwydd wele'n awr,
Mae'r frwydr fawr yn troi.

2 I lawr daw'r eilun yn ddibarch,
Fel Dagon wrth arch Duw;
Ac fe ddilëir cyn bo hir
Ei goffa o dir y byw.

3 Aed afon iachawdwriaeth gras
Drwy'r ddaear lâs o'r bron,
Ac yfed holl genedloedd byd
O ddyfroedd hyfryd hon.

**984.** *Ardystio...M. H.*

YN ewyllysgar, pwy a ddaw,
I arwydd-nodi'n deg â'i law,
Mwy nad arfero tra fo byw
Ddiodydd meddwol o un rhyw?

2 Mae'n rhaid croeshoelio'r cnawd ar frys,
Marweiddio chwant, enwaedu blys;
Bydd blasu'r gwin a'r ddiod gref,
Yn dramgwydd ar ein ffordd i'r nef.

3 Gwareder ni trwy ddwyfol ras,
Rhag llwybrau yr ysbeilydd cas;
Gweddïwn hefyd, mae'n llawn bryd
Sobreiddio'r meddwon dros y byd.

**985.** *Digaregu'r ffordd...M. N.* 8, 7, 4.

DIGAREGU ffordd i'r Arglwydd,
Y mae sobrwydd yn ein bro;
Ar ryw luoedd hyfryd goncwest
Gâdd Cymdeithas Dirwest, do;
Llwyddiant iddi
Dros y ddaear faith i gyd.

**986.** *Ymbil am lwyddiant...M. N.* 6, 6, 8.

O TYWALLT ar ein gwlad
Dy fendith, Arglwydd mawr,
Grym meddwdod yn ddiwad
A gwympo'n llwyr i lawr:
Boed iddo deimlo marwol glwy',
Fel na bo son am dano mwy.

2 Ei amddiffynfa sydd
Yn siglo, er mor gref;
Ar ddarfod mae ei ddydd,
Mae'r nef i'w erbyn ef;
Ymrestrwn oll yn fyddin wiw,
Awn yn y blaen, o'n tu mae Duw.

3 Fe gân telynau'r nef,
Ar gwymp y gelyn mawr,
Bêr anthem hyfryd lef,
Cyduna llu y llawr;
Ceir miloedd yn moliannu 'nghyd,
Am ei alltudio ef o'r byd.

**987.** *Pawb i'w bleidio...M. N. llau.*

O DEUWCH! O deuwch! O deuwch i gyd,
I'r maes i wrth'nebu drwg fedd'dod y byd;
Mae Dirwest yn sobri y meddwon yn awr,
Aed medd'dod yn fuan fel Dagon i lawr.

2 Dewch feddwon afradlon, O deuwch i gyd,
Gwna dirwest eich sobri a'ch gwneuthur yn glŷd;
Yr yfwyr cymedrol dewch chwithau'r un wedd,
Aed diod y meddwyn i eigion y bedd.

3 Broffeswyr crefyddol, O gweithiwch eich rhan,
Er codi Dirwestiaeth yn fuan i'r làn;
Gorchfyga ar fyrder, mi welaf y wawr,
Aed medd'dod yn fuan fel Dagon i lawr.

4 Blant tirion yr Ysgol, O deuwch yn rhwydd
I bleidio'r Gymdeithas—dymunwch ei llwydd;
Athrawon caredig, O deuwch yn mlaen
I ochr Dirwestiaeth i seinio ein cân.

5 I'r meddwol ddiodydd rhown ffarwel yn awr,
Ni gawsom ein siomi, do, ganddynt yn fawr;
Pwy eto yn ufudd heb oedi a ddaw?
Dirwestiaeth orchfyga, mae'r dyddiau gerllaw.

**988.** *Hyfrydwch Dirwest...M. H.*

YN mlaen yr awn dan ganu 'nghyd,
Yn ngwyneb gŵg a gwawd y byd;
Mae'n fraint i ni gael dwyn y groes
Dan faner sobrwydd hyd ein hoes.

2 Ceir golwg hyfryd cyn bo hir,
Ar holl derfynau maith ein tir;
Bydd peraidd ganu am y gwaed,
A'r gelyn meddwdod dan ein traed.

**989.** *Ymdrech am goncwest...M. N.* 8, 8, 7.

AWN yn llon dan faner Dirwest,
Ac ymdrechwn am y goncwest,
Buddugoliaeth sydd o'n tu:
Rhoddwn floedd o eigion calon,
Nes bo gwersyll y gelynion
Oll yn ffoi mewn dychryn dû:
Er mor gryf yw adeiladau
Jericho, a nerth ei chaerau,
Syrthio wnant i'r llawr yn ddiau,
O flaen nerthoedd Duw y duwiau;
Awn mae Brenin nef o'n tu.

2 Melys fydd y waredigaeth
O law medd'dod a'i lywodraeth,
A holl allu'r gelyn cas:
Clywer trwst ei godwm nerthol,
Ac aed sain ei lef angeuol
Trwy derfynau'r ddaear lâs:
Boddi wnelo'r gelyn creulon,
Fel hen Pharao yn yr eigion,
Seiniwn ninau gân hyfrydlon
Wedi dianc o'i afaelion,
O wir fawl i Dduw a'i ras.

**990.** *Goruchafiaeth...M. N. 7iau. 8 llin.*

BETH yw'r cynhwrf sydd yn bod?
Byddin dirwest sydd yn dod;
Beth yw amcan hon yn awr?
Tori meddwdod cas i lawr;
A yn farwol i'w ei fedd,
O dan glwy' dirwestol gledd,
Ar ei fedd rhoir careg fawr,
Fel na welo byth y wawr.

2 Yna dirwest gân yn llon,
Am yr oruchafiaeth hon;
Byth ni welir meddwdod mwy,
Aeth i'r gladdfa dan ei glwy';
O hyn allan sobrwydd fydd
Yn teyrnasu nos a dydd,
Yn ein gwlad mewn rhediad rhwydd,
Heb y gelyn yn ein gwydd.

**991.** *"I bwy mae gwae?"..M. B.*

I BWY mae gwarth ar g'oedd,
A bloedd a dadwrdd blin?
Ac ochain trwm i bwy y mae,
A gwae, ond yfwyr gwin?

2 Ni chwynwn byth ar ol
Gwlybyroedd meddwol mwy:
I'w gwrthod oll rhoddasom law;
Pwy eto ddaw? O pwy?

3 Myrddiynau dros y byd,
O'n cyd-ddirwestwyr ceir;
O'u meddwdod blin, trwy ddirwest dêg,
Ychwaneg a iacheir.

4 Y Jubili a ddaeth,
Er rhoddi'r caeth yn rhydd:
Cyd-lawenhawn ddirwestwyr da;
Hosana! dyma'r dydd.

**992.** *Diolch am Ddirwest...M. N.* 6, 8, 6—*2il.*

DIOLCH i ti, O Dad,
Am ffordd i sobri'n gwlad,
Gwell gwedd cyn hir fydd ar ein tir,
Caiff luoedd wir wellhad;
Can's meddwdod sydd yn colli'r dydd,
A'i ddeiliaid prudd bob rhai;
Fe dorodd gwawr diwygiad mawr,
Fe gwymp y cawr a'n blinai lawr,
Mewn llwydd yn awr mae'n llai.

## Anthemau.

**993.** *Marwolaeth y Cristion.*

BUR wreichionen oddi fry,
Gâd, O gâd dy farwol dŷ;
Braw a gobaith, ing a hiraeth,
Poen ac elw yw marwolaeth;
Paid, hoff natur, paid a'th gur,
A gâd im' farw i fywyd pur.

2 Clywch! gan engyl sibrwd sy,
Tyr'd, chwaer ysbryd, esgyn fry;
Beth yw hyn sy'n dwyn fy mryd,
Cau fy ngolwg ar y byd,
Boddi'm hysbryd, dwyn fy nghlyw;
Fy enaid, d'wed, Ai angeu yw?

3 Mae'r byd yn ffoi, mae'n cilio draw,
Mae'r nef yn agor ar bob llaw,
A sain seraphaidd lu;

Rhowch, rhowch im' hwyl, âf uwch y llawr,
Pa le mae'th rym, O uffern fawr,
A'th golyn, angeu du!

**994.** *Y cyfiawn drig yn y nef.*

Y CYFIAWN drig yn y nef
Gyda Duw a'r Oen,
Yn rhoddi clod
I Dduw am ei ras a'i fawr gariad rhad.
Maent wedi cyrhaedd pen eu taith,
Gyda'r seintiau canant geinciau,
Nefol odlau mawl i Dduw,
Am eu cadw'n fyw.

**995.** *A gymerwyd o'r 72fed Salm.*

BENDIGEDIG fyddo yr Arglwydd Dduw, Duw Israel; yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur rhyfeddodau: bendigedig hefyd fyddo ei enw gogoneddus ef yn dragywydd; a'r holl ddaear a lanwer o'i ogoniant. Amen, Amen.

**996.** *I bwy y perthyn mawl.*

I BWY y perthyn mawl? Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni; ond i'th enw dy hun dod ogoniant. Haleluia, Amen.

**997.** *Can Miriam.*

SEINIWCH y dympan dros fôr yr Aifft brudd,
Jehofa orchfygodd, daw Israel yn rhydd;
Cenwch, fe ddrylliwyd gorfalchedd y gelyn;
Cerbydau, marchogion, a chedyrn o'r bron,
Bu'n ofer eu hymffrost, yr Iôr a'i orchymyn
A gladdai'r holl fyddin yn nyfnder y dòn:
Seiniwch y dympan dros fôr yr Aifft brudd,
Jehofa orchfygodd, mae Israel yn rhydd.

2 Clod i'r Gorchfygwr, ardderchog y gwnaeth,
Ei air oedd ein cleddyf, a'i ffûn oedd ein saeth,
Pwy geir i adrodd i'r Aifft y flin helynt,
Trychineb eu dewrion lluosog eu rhif,
O'i golofn ogonawl edrychodd Duw arnynt,
A soddai'r beilch filwyr yn eigion y llif,
Clod i'r Gorchfygwr, ardderchog y gwnaeth,
Ei air oedd ein cleddyf, a'i ffûn oedd ein saeth.

**998.** *Cwymp Babel.*

FE gwympir muriau Babel fawr,
Fe'i gwneir yn wastad gyda'r llawr;
Cyd-lawenhewch, anwyliaid nef,
Duw a wrandawodd ar eich llef,
I lawr, i lawr i'r dialedd-fôr mawr,
Hi gwymp, hi gwymp, mewn mynud awr;
Rhyw ddychrynadwy foddion fydd
I ddymchwel hon,
Ac mwyach bydd yn brudd ei bron.
O ddedwydd awr tra mawr gorfoledd fydd,
Pan welir meibion Sïon oll yn rhydd;
Pryd hyn y dedwydd fyd, ac uchel gân,
Ddadseinia foliant y Gwaredwr glân.
Haleluia, Amen.

**999.** *T'rewch y Symbal.*

T'REWCH y Symbal bêr a'r Tymbal,
Chwythwch yn yr udgorn mawr,
Chwyrn y taflwyd, rhagddo dygwyd,
Pen Goliah falch i lawr:

2 Ceryg afon, nid eirf y dewrion
Mynai gwron Judah i gyd;
Baner codwch, mawl dyrchefwch,
Duw sydd ben rhyfelwr byd.

3 Gwel yn nesu â dawns a chanu,
Merched Israel yn finteioedd,
Seiniwch fryniau a dyffrynoedd,
Baner codwch, mawl dyrchefwch,
Duw sydd ben rhyfelwr byd.

4 Duw'r taranau rwyg yn ddarnau,
Nerth a grym Philistia gref.
Beth yw dynion i Dduw Sïon?
Duw y lluoedd ydyw ef.

5 Beth yw mawredd dyn yn awr
O flaen Duw hwy ddont i lawr,
Nerth a balchder trawsder trwch,
Duw a'u dwg i'r llawr a'r llwch;
Molwch, genedloedd, molwch ef,
Hosana hyd y drydedd nef,
Hosana, Hosana, Hosana.

**1000.** *"Teilwng yw'r Oen."*

TEILWNG yw'r Oen a laddwyd i dderbyn gallu, a chyfoeth, doethineb, anrhydedd, gogoniant a bendith; canys ti wyt deilwng, O Dduw, i gymeryd gallu, a chyfoeth, doethineb, anrhydedd, gogoniant, a bendith. Can's lladdwyd ti, a thi a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed. Bendigedig fyddo Duw.

Teilwng yw'r Oen; bendith, anrhydedd, gogoniant, a gallu, i'r hwn sydd ar yr orseddfainc, ac idd yr Oen byth bythoedd.

**1001.** *I'w chanu ar agoriad Addoldy.*

AI gwir yw y preswylia Duw ar y ddaear? Wele nefoedd y nefoedd ni allant dy gynwys di.

**1002.** *Bendithiad.*

GRAS ein Harglwydd Iesu Grist a chariad Duw a chymdeithas yr Ysbryd Glân a fyddo gyda chwi oll, Amen.

## Gogoniant i'r Drindod.

**1003.** *M. H.*

I DAD y trugareddau i gyd,
Rho'wn foliant, holl drigolion byd;
Llu'r nef, moliennwch Ef ar gân,
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

**1004.** *M. H.* 6 *llin.*

I'R Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Yn un Duw hyfryd diwahân;
  Ar uchel gân dyrchafwn glod;
Fel'r ydoedd Duw cyn llunio dydd,
Yr un uwch sêr yr awrhon sydd,
  Ac felly bydd Ef byth yn bod.

**1005.** *M. S.*

ADDOLER Duw y Tad, yn nghyd
  A'r Mab a'r Ysbryd Sanctaidd,
Yn mhlith y saint dan wybren sy,
  A'r dysglaer lu nefolaidd.

**1006.** *M. N.* 8, 7.

BOED i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
  Un Duw hyfryd diwahân,
Gael yn barchus felus foliant,
  A gogoniant fyth ar gân;
Fel yr oedd o dragwyddoldeb,
  Mae mewn undeb hyd yn awr,
Bôd heb ddim cyfnewidioldeb,
  Byth, i dragwyddoldeb mawr.

**1007.** *M. C.* 8, 6.

GOGONIANT fyth o fo i'r Tad,
  Mab rhad, ac Ysbryd Glân;
Fel'r oedd, y mae, bydd felly'n bod
  Un hanfod diwahân.

**1008.** *M. N. 8, 6—1ydd.*

I'R Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Pur
Boed mawl trwy gonglau'r nefol dir,
A'r eglwys ar y llawr,
Am garu a phrynu ar y bryn,
Sancteiddio'r brwnt, a'i gànu'n wyn,
Trwy ras anfeidrol fawr.

**1009.** *N. N. 7, 6.*

GOGONIANT, moliant miloedd,
Ar gyhoedd yn un gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Duw hyfryd diwahân;
Fel'r oedd o dragwyddolfyd,
Heb newid, y mae 'nawr,
Ac felly bydd mewn purdeb,
I dragwyddoldeb mawr.

**1010.** *Ton Meifod.*

GOGONIANT i'r Tad
Yn rhwyddaidd, a'r Mab rhad,
A'r Ysbryd Glân pur,
Cyd-roddir pob mawrhad;
Tragwyddol fythol Fôd,
Cyn llunio'r haul na'r rhôd,
Clod, clod, di-lyth fawl a bendith,
Byth iddo'n bod,
Rho'wn fawl mewn gorfoledd,
Modd puraidd i'n Pen,
Ar liniau moliannwn,
Canmolwn, Amen,
Rho'wn heb ataliad foliant di-lys,
Rhwydd is rhod,
Clod, clod, dilyth fawl a bendith,
Byth iddo'n bod.

# MYNEGAI I'R MESURAU.

## Y RHAN GYNTAF.



## YR AIL RAN, NEU Y SALMAU.

Y DRYDEDD RAN.

